# LLYSIEULYFR TEULUAIDD,

GAN D. T. JONES, LLANLLYFNI

WEDI EI DYNU ALLAN O WAITH

NICHOLAS CULPEPPER.



LLEFARODD HEFYD AM BRENAU, O'R CEDRWYDD SYDD YN LIBANUS, HYD YR ISOP A DYF ALLAN O'R PARED. 1 BREN. IV. 33.

CAERNARFON:

CYHOEDDEDIG GAN H. HUMPHREYS.



12

Hemp Agrimony



13

Agrimony



14

Adders Tongue



15

Avens



16

All Heal



17
*Black Alder*



18
*Imamun*



19
*White Behen*



20
*Bedstraw*



21

*Bitter Sweet*



22

*Bur Reed*



23

*Brook Lime*



24

*Bugle*



25
*Buckbean*



26
*Bryony*



27
*Burnet Saxifrage*



28
*Burnet*



29

*Baren Wort*



30

*Butchers Broom*



31

*Betony*



32

*Clary*



43
*Cranesbill*



44
*Corn Marygold*



45
*Cow Wheat*



46
*Crowfoot*



47
*Coltsfoot*

9



48
*Long Cyperus*



49
*Cuckow Flower*



50
*Sciatica Cress*



51
*Wart Cres:*



52
*Devils bit*



53
*Dyers Weed*



54
*Red Darnel*



55
*Pointed Dock*



56
*Dropwort*



57
*Dodder*



58

*Eye Bright*



59

*Earth Nut*



60

*Eringo*



61

*Purging Flax*



62
*Foolston.*



63
*Fox Glove*



64
*Flax Weed*



65
*Frogbit*



66
*Fluellin.*



67
*Fig Wort*



68
*Fever Few*



69
*Yellow Flag*



70
*Sweet Flag*


71 Flea Bane


72 Male Fern


73 Hogs Fennel


74 Fumatory



Groundpine



Goutwort



Glasswort



Gladwin



79
*Gold of Pleasure*



80
*Hartstongue*



81
*Goatsbeard*



82
*Gromwell*



83
*Golden Rod*



84

*Black Horehound*



85

*White Horehound*



86

*Henbane*



87

*Hemlock*


88
Good King Henry


89
Honeywort


90
Least Houseleek


91
Houndstongue


92
Haresfoot



93
Juniper Shrub.



94 Liver Wort



95
Jacinth



96
Knapweed



97
Jack by the Hedge



98
*Marsh Mallow*



99
*Mouse Ear*



100
*Mother of Thyme*



101
*Meadow Sweet*

22


106
*Water Lily*


107
*Ox Eye*


108
*T Mustard*


109
*W Mullien*


110
*Persicaria*



111
*Purple Loosestrife*



112
*Scurvy Grass*



113
*Wild Parsnip*



114
*Pellitory of the Wall*



115

Wood Sorrel



116

Wood Sage



117

Spikenard



118

Tansey

# LLYFR DAIL
## YR HEN Dr. DAVID T. JONES, LLANLLYFNI.

Y
# LLYSIEULYFR TEULUAIDD,

YN DANGOS

Rhinwedd Meddygol Llysiau, &c.,

A

CHYFARWYDDYD I'W CASGLU AC I'W CADW YN DDILWGR AM FLWYDDYN.

GAN YR ENWOG NICHOLAS CULPEPPER,
A Dr. PARKINS,

A'I GYFIEITHU I'R GYMRAEG
GAN DAVID THOMAS JONES,
LLANLLYFNI.

*Gyda thros Gant o Ddarluniau.*

CAERNARFON:
ARGRAFFWYD GAN H. HUMPHREYS, CASTLE SQUARE,
*Lithographic, Copperplate, and Letter-press Printer by Steam, Stereotyper, Bookbinder, and Machine Ruler.*

## AT Y DARLLENYDD.

---

DYMA Physygwriaeth Deuluaidd wedi ei gwneuthur o ddail ein gerddi, ac amrywiol lysiau gwylltion y maesydd, fel y gallo pob dyn nas medr ond darllen Cymraeg yn unig fod yn Physygwr iddo ei hun: trwy fanwl chwilio y llyfr hwn, gellwch gael cyfarwyddyd i symud ac i wellhau y rhan fwyaf o'r amrywiol ddoluriau ag y mae ein cyrph gwaelion yn ddarostyngedig iddynt. Fe welodd yr hollwybodol a'r galluog Dduw, o'i hunan-gynhyrfiol drugaredd a'i ddaioni i ddyn pechadurus, fod yn dda i blanu Balm y Feddyginiaeth yn ein gerddi, o flaen ein drysau, ac oddeutu ein llwybrau, fel ag y gallom ninau, gyda chalon lawn o ddiolchgarwch, estyn

allan ein dwylaw a chymeryd yn feunyddiol o Falm y Feddyginiaeth mewn dydd o boen a gorthrymder corphorol.

Nid ydwyf am eich gyru yn bresenol i'r India nac America i ymofyn meddyginiaeth, ond am droi eich gwynebau i'ch gerddi a'ch maesydd eich hunain.

Y mae y Creawdwr mawr, yn ei ddoeth drefn ei hun, wedi rhoddi amrywiol ddail a llysiau cyfaddas yn mhob gwlad tuag at feddyginiaethu ei thrigolion; ond y bai sydd arnom ein hunain am nad ydym yn eu deall: trwm ydyw gweled dynion yn eu sathru dan draed fel pethau o ddim gwerth.

D. T. JONES.

*Llanllyfni.*

# RHAGYMADRODD

## I'R

## ARGRAFFIAD PRESENOL.

---

AT Y CYMRY,

WRTH gyflwyno yr argraffiad hwn o "Lysieulyfr Teuluaidd" y diweddar Doctor D. T. Jones, o Lanllyfni, i sylw y Cymry, dymuna y Cyhoeddwr hysbysu na arbedodd efe na thraul na thrafferth i'w wneyd yn gyfryw ag a fydd yn werthfawr fel arweinydd i'r rhai sydd yn talu sylw i Lysieuaeth, ac yn defnyddio cynyrchion naturiol ein maesydd a'n coedwigoedd i ragflaenu a meddyginiaethu yr anhwylderau mynych y mae y corph dynol yn ddarostyngedig iddynt. Nid oes ganddo un petrusder wrth ddywedyd ei fod, ar lawer o ystyriaethau, yn tra-rhagori ar yr argraffiad blaenorol.

Eglurir yr argraffiad presenol gydag o ddeutu cant ac ugain o Ddarluniau o'r gwahanol Ddail a'r Llysiau; ac er hwylusdod i adnabod y dail ymhob parth o'r wlad, lle y mae gwahanol enwau yn cael eu rhoddi arnynt gan wahanol bersonau, darparwyd Taflen helaeth o'r amrywiol lysiau dan y gwahanol enwau a roddir arnynt, ynghyda rhifnodau cyfeiriol i'r Darluniau, fel y gellir troi atynt wrth bob un o'r enwau, heb un anhawsder.

Y mae rhagoroldeb y gwaith hwn o eiddo yr awdwr uchod yn cael ei gydnabod yn gyffredinol trwy y wlad. Heblaw fod digon o dystiolaethau i'w cael ei fod wedi bod yn offerynol i gyfarwyddo llawer yn y gelfyddyd lysieuol, nes dyfod yn hyddysg ynddi, a bod o fendith iddynt eu hunain, ac i'w cymydogion—y mae llwyr balliant yr argraffiad cyntaf, a'r pris uchel a gynygid am y cyfryw gopïau ag a ellid gael o hono, ynghyda'r

galwad uchel oedd er's blynyddoedd am ail-argraffiad—y mae y pethau hyn, meddwn, yn profi fod cymeradwyaeth uchel gan y wlad i'r awdwr fel llysieuwr, a meddwl uchel ganddi am ei "Lysieulyfr Teuluaidd."

Hydera y Cyhoeddwr fod pris yr argraffiad presenol—yr hyn sydd lai na haner pris yr hen argraffiad—y fath fel y gall pawb a ddymunant gael llyfr ar Lysieuaeth Gymreig ei gyrhaedd. Galluogwyd y Cyhoeddwr i wneyd hyn heb dalfyru dim ar y gwaith, trwy ddofnyddio llythyren ychydig yn fanach, a'i argraffu yn fwy diwastraff o ran cyflead y llinellau, a thrwy hyny ei wneyd yn fwy cryno a hwylus i'w gario oddiamgylch yn y llogell, pan fyddo y llysieuydd yn myned ar wibdaith i chwilio am y dail y byddo arno eu heisiau.

Nid amherthynasol fyddai sylwi, er hyny, i'r Gwaith gael ei ddiwygio yn ofalus, a'i ail-

drefnu yn fwy cryno a rheolaidd mewn amrywiol fanau, rhagor yr argraffiad blaenorol; ac wrth wneyd hyny, buwyd yn ofalus i gario allan gynllun cyntefig yr awdwr gyda golwg ar drefn y Gwaith.

Gan hyderu y bydd ei ymgais, yn nygiad allan y gwaith hwn, i roddi yn llaw ei gydwladwyr argraffiad gwerthfawr, defnyddiol, a rhad, o Lysieulyfr ymarferol a theuluaidd, yn teilyngu eich cymeradwyaeth,

Y gorphwysa

Yr eiddoch bob amser,

Y CYHOEDDWR.

# DANGOSEG
I
# RIFNODAU Y DARLUNIAU.

RHESTR O'R DAIL DAN Y GWAHANOL ENWAU WRTH BA RAI YR ADNABYDDIR HWY, YNGHYDA'R RHIF WRTH BA UN Y GELLIR EU CAEL YN Y DARLUNIAU.

## CYFARWYDDYD I DDEFNYDDIO Y RHESTR GANLYNOL.

Yn gymaint a bod gwahanol ddail a llysiau yn cael eu hadnabod wrth wahanol enwau, mewn gwahanol wledydd ac ardaloedd, ac weithiau yn yr un ardal hefyd, barnwyd yn fuddiol gwneyd y Rhestr ganlynol mor gyflawn ag y gellid o barth yr enwau Cymraeg, fel y byddo yn wasanaethgar gyffredinol, ac y gallo pawb yn mhob ardal gael ei gyfarwyddo at y ddeilen yn ol yr enw y byddo yn adnabyddus wrtho yn ei gymydogaeth ef. Pan y byddo ar y darllenydd eisiau ei gyfeirio at ddarlun unrhyw ddeilen, edryched yn y golofn gyntaf am ei heuw, ac wedi ei gael bydded iddo gario ei lygad ymlaen at y llaw ddeheu, a chenfydd ei henw Saesoneg yn yr ail golofn, a'r rhif wrth ba un y gellir ei chael yn y Darluniau yn y drydedd golofn. Er engraifft:—*Anhiliog*; ei henw yn Saesoneg yw *Barrenwort*, a'i rhif yn y Darluniau yw 29, a'r un modd gyda golwg ar yr holl ddail ereill.

| Enw Cymraeg. | Enw Saesoneg. | Rhif y Darlun. |
|---|---|---|
| A | | |
| Anhilliog . . | Barrenwort . . | 29 |
| Adafeddog, yr . . | Cudweed . . | 34 |
| Alan bychan . . | Colt's foot . | 47 |
| Aurfanadl . . | Dyer's weed . . | 53 |
| Alan lleiaf . . | Frogbit . . | 65 |
| Arllegog, yr . . | Jack-by-the-hedge . | 97 |
| Amlaethlal . . | Milkwort . . | 104 |
| Arlan gwion . . | Fluxweed . . | 64 |
| B | | |
| Brigau'r twynau . | Lady's bedstraw . | 20 |
| Bloneg y ddaear . . | Briony . . | 26 |
| Bustl y ddaear . . | Centaury . . | 39 |
| Blodau'r gog . . | Cuckoo flowers . | 49 |

| Enw Cymraeg. | Enw Saesoneg. | Rhif y Darlun. |
|---|---|---|
| Blodau'r cegid bychan | Cuckoo flowers . | 40 |
| Bysedd cochion . . | Foxgloves . . | 63 |
| Barf y bwch . . | Goat's beard . . | 81 |
| Bele, y . . . | Henbane . . | 86 |
| Byddon . . | Hemp-agrimony . | 12 |
| Bengaled, y . . | Knapweed . . | 96 |
| Benlas, y . . | Knapweed . . | 96 |
| Banog, y . . . | Mullein . . | 101 |
| Baddon y coed . . | Wood-sage . . | 116 |
| Berw (sciatica) . . | Sciatica cress . . | 50 |
| C | | |
| Cas gan arddwr . | Rest harrow . | 2 |
| Cwpanau'r ddaear . | Cup moss . . | 4 |
| Crinllys . . | Violet . . | 9 |
| Cwlyn y mel . . | Agrimony . . | 13 |
| Cawen . | Bur-reed . . | 22 |
| Celyn Mair . . | Butcher's broom . | 30 |
| Criban St Ffraid . | Betony . . | 31 |
| Cribau'r coed . . | Betony . . . | 31 |
| Cyfardwy . . | Comfrey . . | 35 |
| Canrhi goch . . | Cent nry . . | 39 |
| Camri . . . | Camomile . . | 40 |
| Camomil . . . | Camomile . . | 40 |
| Crafangc y fran . | Crow's foot . . | 46 |
| Carn yr ebol . . | Colt's foot . . | 47 |
| Cas gan gythraul . | Devil's bit . . | 52 |
| Clais . . . | Devil's bit . . | 52 |
| Cwlwm y gwydd . | Dodder . . | 57 |
| Cnau'r ddaear . . | Earth nuts . . | 59 |
| Celyn y môr . . | Eringo . . | 60 |
| Caill yr ynfyd . . | Fool's stones . . | 62 |
| Craith un-nos . . | Fluellin . . | 66 |
| Cwd y mwg . . | Fumitory . . | 74 |
| Corn carw'r môr . | Glasswort . . | 77 |
| Cynffon y gath . . | White hoarhound . | 85 |
| Crys y brenin . | Henbane . . | 86 |
| Cegid . . . | Hemlock . . | 87 |
| Cynffon y llygoden . | Houseleek least . | 90 |
| Cyngle. ydd yr afon . | Liverwort . . | 94 |
| Clust yr asen . | Liverwort . . | 94 |

| Enw Cymraeg. | Enw Saesoneg. | Rhif y Darlun. |
|---|---|---|
| Cieddyflys . . | Bur-reed . . | 22 |
| Cydllin . . . | Gold of pleasure . | 79 |
| Cennin y brain . | Jacinth . . | 95 |
| Clafrlys . . . | Knapweed . . | 96 |
| Clust y llygoden . | Mouse-ear . . | 99 |
| Cethw . . . | Mustard . . . | 108 |
| Clust y fuwch . | Mullein . . | 109 |
| Codowydd . . | Spikenard . . | 117 |
| CH | | |
| Chwys mair . . | Crow's foot . . | 46 |
| Chwehllys . . . | Fleabane . . | 71 |
| Chwys Arthur . . | Meadow sweet . | 101 |
| Chwerwyn bôn trwyn . | Mustard . . . | 108 |
| Chwerwlys yr eithin | Wood-sage . . | 116 |
| D | | |
| Ddueglwyd, y . . | Rest harrow . . | 2 |
| Drydon, y . . | Agrimony . . | 13 |
| Dannogen y coed . . | Betony . . | 31 |
| Ddiwydd felen, y . | Great celandine . | 36 |
| Ddiwlith, y . . | Great celandine . | 36 |
| Dall y peils . . | Little celandine . | 42 |
| Dowrudd, y . . | Crane's bill . . | 43 |
| Dail carn yr ebol . | Colt's foot . . | 47 |
| Dorfagl, y . . | Eyebright . . | 58 |
| Dail ffionffrwyth . | Foxgloves . . | 63 |
| Ddeilen ddu dda, y . | Fluellin . . . | 66 |
| Dannogen y dwfr . | Figwort . . | 67 |
| Dorllwyd, y . . | Ground pine . . | 75 |
| Drewlys cochion . | Red darnel . . | 54 |
| Dail yr hocys . . | Marsh-mallows . . | 98 |
| Dewbanog, y . . | Mullein . . | 109 |
| Dail melfed . . | Mullein . . . | 109 |
| Dail ysgyrfi . . | Scurvy grass . | 112 /94 |
| E | | |
| Eithin yr ieir . . | Rest harrow . . | 2 |
| Eglyn, yr . . | White saxifrage . | 7 |
| Eirin gwlon . . | Betony . . | 26 |
| Effros . . . . | Eyebright . . | 58 |
| Eithin yr ieir . . | Gladwin . . | 78 |
| Elestr y dwfr . . | Waterlily . . | 106 |

| Enw Cymraeg. | Enw Saesoneg. | Rhif y Darlun. |
|---|---|---|
| Githran . . . | Honeywort . . | 89 |
| Gramenog, y . . | Knapweed . . | 96 |
| Glatrlys, y . . . | Knapweed . . . | 96 |
| Gan'wreiddlwyd . | Mugwort . . | 105 |
| Gystlys . . . | Tansy . . . | 118 |
| H | | |
| Hwp yr ychain . . | Rest harrow . . | 2 |
| Hen wr, yr . . . | Brooklime . . | 23 |
| Hocys y morfa . . | Marsh-mallows . . | 98 |
| Helyglys, yr . . | Purple loosestrife . | 111 |
| L | | |
| Lili y dwfr . . | Waterlily . . | 106 |
| LL | | |
| Llwyd y ffordd . . | Cudweed . . | 34 |
| Llwyd boneddig . | Cudweed . . . | 34 |
| Llysiau'r milwr melynion | Yellow loosestrife . | 1 |
| Llysiau Ioan . . | St. John's wort . | 6 |
| Llyfanawg . . | White saxifrage . | 7 |
| Llysiau y cryman . . | Pimpernel . . | 8 |
| Llysiau y drindod . | Violet . . . | 9 |
| Llysiau'r dom . . | Chick weed . | 10 |
| Llysiau'r dryw . . | Agrimony . . | 13 |
| Llysiau y fuddai . . | Agrimony . . | 13 |
| Llysiau f'anwylyd . | Avens . . . | 15 |
| Llysiau'r cywair . . | Lady's bedstraw . | 20 |
| Llysiau'r panwyr . | Lady's bedstraw . | 20 |
| Llysiau taliesin . . | Brooklime . . | 23 |
| Llychlyn y dwfr . | Brooklime . . | 23 |
| Llysiau'r twrch . . | Briony . . . | 26 |
| Llysiau'r neidr . | Bistort . . | 32 |
| Llysiau'r cwlwm . . | Comfrey . . . | 35 |
| Llym y llygad . . | Great celandine . | 36 |
| Llysiau'r wennol . . | Great celandine . . | 36 |
| Llysiau'r llew . . | Great celandine . | 36 |
| Llygaid Ebrill . . | Little celandine . | 42 |
| Llygaid y dyddiewed . | Little celandine . | 42 |
| Llysiau y llwynog . . | Crane's bill . . | 43 |
| Llysiau Robert . . | Crane's bill . . | 43 |
| Llindro cynhafog . . | Dodder . . . | 57 |
| Llygaid siriol . . | Eyebright . . | 58 |

| Enw Cymraeg. | Enw Sacsoneg. | Rhif y Darlun. |
|---|---|---|
| Tafod y neidr . . | Adder's tongue . . | 14 |
| Tafol . . . | Pointed dock . | 55 |
| Tarfgryd . . . | Feverfew . . | 68 |
| Tafod yr hydd . . | Hart's tongue . | 80 |
| Tafod y carw . . | Hart's tongue . . | 80 |
| Tafod y ci . . | Hound's tongue . | 91 |
| Troed yr ysgyfarnog . | Hare's foot . . | 92 |
| Troed yr asyn . . | Jack-by-the-hedge. | 97 |
| Teim gwyllt . . | Mother of thyme . . | 100 |
| Tapr Mair . . | Mullein . . . | 109 |
| Trlagl y Cymro . . | Wood sage . . | 116 |
| Tansi . . . | Tansy . . . | 118 |
| W | | |
| Winwydden wen, y . | Briony . . . | 26 |
| Wermod wen . . | Fever few . . | 68 |
| Wialen aur, y . . | Golden rod . . | 83 |
| Waedlys, y . . | Purple loosestrife . | 111 |
| Y | | |
| Ystrewllys . . | Sneeze wort . . | 11 |
| Ysgawen ddu . . | Black alder . . | 17 |
| Ysgol Fair . . . | Centaury . . | 39 |
| Ysnoden Fair . . | Cypress long . | 48 |

# LLYSIEULYFR TEULUAIDD, &c.

*Adder's Tongue.*—TAFOD Y NEIDR.

Y MAE y ddeilen hon yn tyfu o dan y Lleuad, ac yn arwydd y Cranc. Y mae yn gofyn manyldra i chwilio am y ddeilen fechan hon, am ei bod yn cael ei chladdu neu ei chuddio gan y gwellt glas. Y maent i'w cael mewn gweirgloddiau lled leithion, yn mis Ebrill ac yn mis Mai; ond pan gyfodo y gwres a phoethder y flwyddyn, y maent yn meirw yn fuan: nid oes ond un ddeilen yn tyfu ar goes cyhyd a bŷs oddiwrth y ddaear, a'r ddeilen yn gorwedd yn fflat, ac o liw gwyrdd cryf.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn dymherus yn eu natur, ond yn sych yn yr ail radd. Y mae sug y dail yn rhagorol o dda i fendio briwiau yn y rhanau tufewnol, sef y frest a'r bol, neu ryw ranau o'r ymysgaroedd; ac y maent yn rhagorol o dda i'r rhai sydd yn ymadael â'u gwaed ryw ffordd, i fyny neu i lawr, o'u genau neu o'u ffroenau, neu ei gyfogi; fe ddywedir hefyd eu bod yn rhagorol o dda i'w berwi hefo mês—y cnapiau a fydd yn tyfu ar goed derw; berwch o bob un yr un faint a'u

gilydd, sef o'r dail hyn a'r mês, a'i feluso â siwgr gwyn a gwin coch, os gellir ei gael, a rhoddwch i'w yfed yn helaeth o hono i ferch pan y bo ei harferiad misol yn rhy helaeth. Y rhai a fyddo mewn angen o dreio y cyngor hwn, a gânt achos i'w ganmol yn fawr am ei rinwedd. Yn allanol, y maent yn gwellhau llygaid cochion a dolurus, trwy roddi ychydig sug yn y llygaid. Y mae eu sug yn dda i olchi briwiau hen a newydd, yn enwedig pan fyddo y dolur yn goch ac yn ffyrnig. Cewch eich cyfarwyddo, yn niwedd y llyfr, am y ffordd i gadw y sug.

---

### *Agrimony.*—Llysiau y Dryw.

Y mae y dail hyn yn bur ddefnyddiol ond fod eu rhinwedd yn cael ei esgeuluso yn fawr.

*Dull.*—Y mae arnynt amrywiol o ddail hirion, ac amryw o rai byrion, yn fylchau o amgylch eu hymylau; yn wyrddion oddiarnynt, ac yn llwydion o tanynt; ychydig yn flewog, ac yn gyffredin dim ond un goes, a hono yn ddwy neu dair troedfedd o hyd, a'r dail yn fanach at y top: at y top mae amryw o flodau mân melynion y naill uwchlaw y llall; ac ar ol y rhai'n y bydd cnapiau mân geirwon, pa rai yw eu hâd, ac y maent yn glynu yn mhob peth a daro wrthynt. Y mae y gwreiddyn yn ddu ac yn hir, ac yn aros am lawer o flynyddoedd, ac yn tarddu allan yn *fresh* bob blwyddyn.

*Lle.*—Y maent yn tyfu yn gyffredin ar fangeiau, ac mewn ffosydd, ac yn ochrau cloddiau: gall pawb deallus gael hyd iddynt wrth y cyfarwyddyd hwn.

*Amser.*—Y maent yn blodeuo yn mis Gorphenhaf ac yn mis Awst, a'u hâd yn aeddfedu yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail tra rhinweddol hyn yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter a than arwydd y Cranc; ac y maent yn cryfhau y rhanau o'r corph sydd o dan lywodraeth y blaned a'r arwydd, ac yn symud y doluriau o'r rhanau hyny o'r corph. Yn dufewnol, y maent yn agoryd atalfeydd yr iau, ac yn gwellhau y clwyf neu y clefyd melyn; ac y maent yn bur dda i fendio briwiau yn yr ymysgaroedd, neu yn rhai o'r rhanau tufewnol: y maent yn dda i'r rhai sydd wedi briwo oddi mewn wrth syrthio, ysigo, neu streifio trwy ryw ddamwain; ac fe ddywedir eu bod yn dda yn erbyn brathiad neidr, ond pa un bynag am hyny, y maent yn rhagorol o dda i'r rhai sydd yn gwneuthur dwfr tew cymysglyd, ac hefyd, i'r rhai sydd yn gwneuthur dwfr gwaedlyd, ac y maent hefyd yn dda i'r rhai sydd yn gwneuthur dwfr yn rhy brysur, am eu bod yn methu ei ddal; yfwch yn helaeth o drwyth y dail hyn, fe'ch gwellhâ yn fuan; ac nis gallant lai na bod yn dda erbyn colic y gareg a'r grafel, gan eu bod yn gweithio mor rinweddol ar basage y dwfr; ac y maent hefyd yn ganmoladwy i'w cymeryd o flaen ffitiau o'r crŷd, ond rhaid yfed yn

helaeth o'r drwyth, a chwysu, o flaen y ffit; ac y mae rhai yn eu defnyddio gyda llwyddiant, yn erbyn y pesychu a dolur yn y frest; ac y mae yr hadau wedi eu malu a'u cymeryd mewn gwin côch, yn dda i'w cnocio hefo bloneg a'u hoi ar heu friwiau a chansers, ac hefyd i dynu allan ddrain neu ryw splinters a fo gwedi myn'd i'r cnawd; hefyd y maent yn dda yn y dull hwn i roi ar gymalau a fo gwedi bod o'u lle. Sug y dail sydd yn dda i'w dropio i'r clustiau pan y byddont yn ddolurus ac yn friwedig oddi mewn: gellwch ferwi y dail a'u gwneuthur yn drwyth gref mewn dwfr (gallaf gymhell gwin i'r cyfoethog,) ac yfed yn helaeth o hono yn erbyn y doluriau uchod, neu eu distilio os byddwch yn dewis; ond gwell ydynt gwedi eu berwi, ond eu hiwsio cyn iddynt suro. Nid oes dim perygl ynddynt. Mi a ddygaf ar gof i chwi unwaith eto, os bydd eich iau yn ddrwg naill ai trwy ormod o wres, neu ormod o oerfel, cymerwch ffrwyth y dail hyn yn fynych; nid oes eisiau mo'u gwell yn holl ffaeleddau yr iau.

---

*Avens.*—Y FABGÔLL, LLYSIAU F'ANWYLYD.

*Dull.*—MAENT yn codi oddiar y gwreiddyn yn amrywiol ddail ar bob tu i'r goes, a'r rhei'ny yn arw, o liw gwyrdd cryf, ac yn fylchau o amgylch eu hochrau; ac y mae hefyd rai manach, weithiau ddwy ac weithiau bedair

o bobtu i'r goes, a'r coesau yn flewog, yn arw, ac agos i ddwy droedfedd o hyd, ac ar eu topiau flodau o liw melyn gwan, ac arnynt bump o ddail, ac yn eu canol y mae deilen werdd fechan: a phan syrthio y blodau, y mae y ddeilen fechan hòno yn cnapio ac yn troi yn hadau, ac y maent yn arw, yn glynu yn eich dillad.

*Lle.*—Y maent yn tyfu yn wylltion yn ochrau y cloddiau a'r ffosydd, ac hefyd gydag ochrau y llwybrau; ond yn hyfrydu mwy mewn cil haul nag mewn lle gwresog.

*Amser.*—Y maent yn blodeuo yn Mai a Mehefin, a'u had yn aeddfed yn Gorphenhaf.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn o dan lywodraethiad Jupiter, ac y mae hyn yn eu gwneuthur yn dra rhinweddol at holl ffaeleddau y frest; gellir cymhwyso y dail rhagorol hyn at y frest yn well nag un rhan arall o'r corph; y maent hefyd yn gweithio i lawr ac yn clirio y frest o'i chymysg humours a'i haflechyd. Y maent trwy eu cyuhesrwydd yn toddi y gwaed a fyddo gwedi myned yn dywyrch neu yn cnapio oddi mewn trwy godymau, neu ysigo eu hunain trwy ryw ddamweiniau. Y maent hefyd yn iachâu y rhai sydd yn poeri gwaed o'r frest, yr hyn sy'n dangos eu bod yn effeithiol ar y frest a'r cylla. Cymerwch y gwraidd yn leision, neu sychion, gan eu berwi mewn gwin neu ddwfr, a'u hyfed; ac y maent yn rhinweddol i iachau pob math o friwiau yn y frest, y maent hefyd yn cryfhau y galon a'r ystumog wan; maent yn dda i'w hyfed yn y Gwanwyn

i gryfhau yr iau, ac i agoryd ei atalfeydd; ac y maent yn bur dda i'w hyfed yn erbyn y clefyd melyn, ac yn chwalu gwynt o'r cylla; ac y maent yn cynhesu ac yn gwneyd ystumog oer yn gynhes; y maent yn dda i'w hyfed yn y bore ar amser afiach, yn erbyn clefydon ac afiechyd yn yr awyr. Gwelwn fod y dail hyn yn gweithio yn hollol ar y frest. Yn allanol, y maent yn dda i dynu marciau a spotiau oddiar y gwyneb, trwy ei olchi â'r sug; ac y mae eu sug yn dda yn allanol, i olchi briwiau; y maent yn hollol ddiberygl, nid oes dim angenrheidrwydd i benu y swm, gellwch eu hyfed wrth eich rheswm, a'u melysu â rhyw beth cyfaddas, fel ag y bo'r dolur yn galw; mêl at y peswch, neu siwgr coch; os bydd y corph yn rhy rydd, cymerwch siwgr gwyn.

---

## *Angelica.*—Llysiau'r Ysgyfaint.

Yn yr hen amser, pan ag yr oedd ein henafiaid yn ffeindio allan rinweddau y dail, hwy a'u galwent ar enwau eu duwiau; ac ar ol hyny, daeth y Pabistiaid, ac a'u galwasant ar enwau y seintiau, sef, *St. John's Wort* i St. Ioan, ac un arall i St. Pedr, ac felly yn y blaen; ac y mae deilen arall yr hon a gyfenwir ar enw y Drindod, am ei bod o dri lliw; ac y mae ganddynt *ointment* neu enaint, ac y maent yn ei alw ar enwau yr apostolion, am fod ynddo ddeuddeg o bethau: O! mor alarus yw meddwl

am eu ffolineb a'u cabledd; Duw a ddanfono iddynt ddoethineb weddill eu dyddiau. Y mae rhai yn galw y ddeilen hon yn ddeilen yr Yspryd Glân, ond y mae ereill yn ychydig mwy gweddol yn ei galw yn Llysiau yr Angel, ond yn ein gwlad ni fe'i gelwir yn Llysiau yr Ysgyfaint.

Ofer yw ysgrifenu am ei dull, am ei bod i'w chael wrth yr enw hwn gan bawb o'r bron sy'n cadw gardd: heblaw mewn gerddi, y mae hi yn tyfu yn wyllt yn rhai manau; y mae yn blodeuo yn Gorphenhaf, a'i hâd yn aeddfedu yn mis Medi.

*Rhinwedd.*—Mae y ddeilen ragorol hon yn tyfu o dan lywodraeth yr Haul, ac yn arwydd y Llew. Y mae y ddeilen hon yn dda yn erbyn gwenwyn; y mae yn cryfhau y galon yn rhagorol fel nas gallo dim gwenwynllyd wneuthur fawr o niwaid iddi; y mae yn cryfhau yr ysprydoedd yn rhagorol, ac yn effeithiol hefyd yn erbyn y pla, neu ryw afiechyd arall o'r awyr; y mae pob rhan o'r ddeilen hon yn llawn o rinwedd; ond ei hadau a'i gwraidd yn y graddau mwyaf: anaml y mae y ddeilen hon yn ffaelio symud y cryd, trwy ei hyfed dair gwaith neu bedair o flaen y ffit, a gorwedd i chwysu ar ei hol; y maent yn bur dda i gynhesu y frest a'r cylla pan y byddont yn oer; y mae yn agoryd atalfeydd yr iau; y mae y ddeilen hon yn gweithio yn effeithiol ar y frest, yr iau, yr ysgyfaint, a'r galon; y mae yn bur dda i'w berwi a chymysgu y drwyth hefo thriagl, a'i

yfed yn boeth, a gorwedd yn y gwely a chwysu yn nechreu clefydon, neu yn wir ryw afiechyd arall y byddo yn gofyn chwysu ynddo; haner drachm o'r gwreiddyn yn sych wedi ei bowdro, a'i gymysgu mewn mêl rhag pesychu, ac mewn triagl pan b'o i chwysu, yn erbyn clefyd y crynu, neu ryw achos arall; os powdr o'r hadau a fyddwch yn ei gymeryd, cymerwch haner cymaint am eu bod yn gryfach; ond am y ddeilen, gellwch ei gwneyd yn drwyth gref a'i hyfed wrth eich rheswm, hwyr a bore. Yn allanol, ei sug sydd yn dda i'w ddropio i'r llygaid i'w sirioli ac i'w cryfhau; a'i ddropio i'r clustiau i helpu y clyw; a'i roddi yn nhwll y dant, y mae yn tori y boen: y gwreiddyn gwedi ei falu yn bowdr a'i gymysgu hefo pitch, a'i wneyd yn blastr, a'i roddi ar frathiad ci drwg, neu ryw ymlusgiaid gwenwynig arall, sydd yn helpu yn rhagorol; y mae sug, neu bowdr o'r gwraidd, a'i roddi mewn hen friwiau dyfnion, yn dda i dyfu y cnawd ar yr asgwrn, ac yn ei fendio, a'i groeni yn fuan. Nid yw y rhai gwylltion o honynt mor rinweddol a'r rhai sydd yn y gerddi, ond eu bod yn ddiberygl yn y doluriau a enwyd uchod.

---

## *Arrach Wild.*—Llysiau y Fam Wyllt.

*Dull.*—Y maent yn ddail lled fân, ac yn lled grynion, ond ychydig yn feinion at y blaen, ac heb ddim bylchau na thoriadau

ynddynt; yn tyfu ar goes fain ac eiddil, ac yn ymdaenu ar y ddaear; eu blodau sydd yn glwstr mân arnynt; ac yn olaf, y mae eu hadau yn fân, ac yn syrthio bob blwyddyn, ac yn ail-dyfu i fyny o'u hauad eu hunain; ac y maent yn arogli fel pysgodyn a fyddo gwedi drewi, neu rywbeth gwaeth.

*Amser.*—Y maent yn blodeuo yn Mehefin a Gorphenhaf, a'u hadau yn aeddfed yn fuan ar ol hyny; y maent yn gyffredin yn tyfu yn wylltion ar y tomenydd, yr hyn sydd yn dangos fod rhodd Duw yn helaeth ac yn rhad i ddyn pechadurus, ac yn hawdd ei chael, heb arian ac heb werth. Mae y dail hynod hyn yn tyfu tan lywodraeth Venus, ac yn arwydd y Sarph; ac am hyny, y maent yn cael eu cymhwyso yn unig at ddoluriau merched, fel balm iachusol i'w clwyfau o bob rhyw; y maent yn eu defnyddio i wellhau merched pan fyddont boenus ac yn barod i wallgofi gan wynt neu ffitiau y fam: fe ddywed yr ysgrifenydd nad oes mo'u gwell yn tyfu o dan yr haul na'r lloer yn erbyn y dolur hwnw, sef y fam; yr wyf fi yn ei gymell fel meddyginiaeth gyflawn a rhad yn holl ddoluriau a ffaeledd y groth, yr hyn a wna yn rhwydd, yn sâff, ac yn brysur; y maent yn oeri y groth pan y byddo yn boeth, oblegyd gormod o wres yn y rhanau tumewnol yw un achos, ac achos mawr hefyd, fod gwragedd yn ei chael mor galed ar enedigaeth plant, ac os cymer gwraig feichiog y dail hyn, gyda had llin a mêl, a'u cyd-ferwi, ac yfed y drwyth wrth ei rheswm

yn fynych yn y tri mis olaf o'r naw, fe fydd yn fwy o werth iddi na phris y llyfr i gyd, yn awr ac yn amser caledi; yn mlaen llaw y mae parotoi at y fath orchwyl, ac nid oedi a hepian, fel y morwynion ffol hyny, hyd nes yr elo hi yn rhy hwyr. Ond mi a ddeuaf yn ol at fy ngorchwyl:—y maent yn glanhau y groth, ac yn ei chryfhau yn rhagorol, ac fe ddywedir eu bod yn gwneuthur merched anmhlantadwy yn ffrwythlon; ond pa un bynag am hyny, y maent yn dyfod a'r cyrsiau misol i lawr pan fyddont wedi stopio, ac yn eu stopio pan fyddont yn dyfod yn rhy helaeth. Y mae miloedd wedi colli eu bywydau yn y cyflwr hwn, am hyny dymunaf ar y darllenydd sydd yn ddyeithr i'r dolur, fyned heibio i'r feddyginiaeth yn weddaidd, ac heb ei gwawdio, o herwydd mai rhodd Duw ydyw; nis gellwch ddeisyfu dim daioni i'r ymysgaroedd nas gwna y dail hyn ei gyflawni; am hyny, os ydych yn caru plant, yn caru iechyd, ac yn caru esmwythdra, cedwch syrup wedi ei wneuthur o'u sug â siwgr neu fêl, yn eich ymyl trwy'r flwyddyn; a bydded i'r rhai sydd yn gyfoethog ei wneuthur fel ag y gallont ei gyfranu i'w cymydogion tylodion, mor rad ag yr wyf fi wedi rhoddi fy llafur i ddyweyd am eu rhinwedd.

*Amomum.*—Persli Per.

Y mae y dail hyn yn werth chwilio am danynt, am eu bod yn dra rhinweddol yn yr holl ddoluriau y rhai sydd a thuedd ynddynt i effeithio ar ffordd y dwfr; nis gallaf gymell y dail hyn at yr oll neu amrywiol ddoluriau yn y rhanau tufewnol o'r corph, ond yn fwyaf neillduol at ddolur y gareg a'r grafel, ac y mae y dolur hwnw yn blino y rhan fwyaf o ddynolryw. Eu gwraidd sydd yn rhagorol dda i agoryd yr holl atalfeydd sydd yn rhwystr ar ffordd y dwfr; y maent yn dda i helpu y rhai sydd yn ffaelio gwneuthur dwfr, ac yn helpu y rhai sydd yn gwneuthur dwfr yn rhy brysur; hefyd, helpant y rhai ag y bo eu dwfr yn eu llosgi wrth ei wneyd; ac yn esmwythâu poen yn y cefn, sef y mein-gefn a'r bol: y ffordd oreu ydyw powdro y gwraidd, eu gogryn trwy ochr rhawn, a rhanu un wns yn ddeg o ranau, a chymeryd un o honynt bob dydd mewn mêl. Ffordd arall,—gellwch eu berwi mewn dwfr, a'u melysu â mêl, ac yfed llonaid cwpan dê o hono hwyr a bore; eu hadau sy'n dda yn holl ddoluriau y frest; gellwch eu malu a'u gogryn yn yr un modd a'r gwraidd, a'u cymeryd at y frest yr un fath ag yr oeddych i gymeryd y gwraidd at y grafel, ond gellir eu berwi a'u hyfed wedi eu melysu â mêl neu siwgr rhag cnoi yn y frest, a phoen yn y cylla. Arferiad cyffredin y wlad wrth wneuthur diod ddail

ydyw ei gwneyd o amrywiol rywogaethau, ond pan y b'och yn gwneyd diod i glirio y cylla a'r frest, rhowch y dail hyn ynddi hi, a chwiliwch y llyfr hwn yn fanwl am ddail o'r un natur, ac at yr un dolur; rhag i chwi, yn eich tywyllwch a'ch anwybodaeth, hel dail croesion eu natur i'w gilydd, ac hefyd yn groes i natur y dolur; ac os felly gwnewch, chwi gwch gymaint yn eich ol ag yn eich blaen, ond os gwnewch yn ol y cyfarwyddyd a roddaf yn y llyfr hwn, gellwch fod yn foddion i wellhau ac i symud ymaith eich afiechyd eich hunain a'ch cymydogion hefyd. Rhoddir pob cyfarwyddyd angenrheidiol mewn perthynas i'r llysiau yn niwedd y llyfr.

---

## *Ground Ivy.*—Llysiau yr Esgyrn.

Y mae y llysiau adnabyddus hyn yn gorwed l ar y ddaear, yn ymledaenu eu dail, a'u cocsau yn feinion, tyner, a chymalog, ac o bob tu i'r cymal ddwy ddeilen lled grynion, ryw faint yn flewog, ac yn anwastad eu bylchau o gwmpas eu hochrau; a'u blodau yn hirion, yn leision, ac arnynt spotiau gwynion ar y cyrau isaf, yn hongian i lawr o'r blodeuyn. Y maent i'w cael yn gyffredin mewn ochrau cloddiau, mewn ffosydd, ac mewn lonydd cysgodol, o'r bron trwy'r holl wledydd. Y maent yn blodeuo yn bur gynar, ac yn aros yn bur hir; a'u dail yn aros yn leision hyd y gauaf, a thrwy y gauaf, oddieithr i'r tywydd fod yn bur oer

*Rhinwedd.*—Y mae y dail bychain hyn yn dra rhinweddol, ac yn tyfu dan lywodraeth Venus. Y maent i'w cael trwy y flwyddyn os na fydd yn rhewllyd ac oer. Y rhinweddau mwyaf ardderchog sydd yn perthyn i'r dail hyn, ydyw i iachau briwiau oddi mewn i'r corph, sef yn y frest, yn enwedig i iachau briwiau a thyllau yn yr ysgyfaint; a pha beth a ellwch ddysgwyl yn ychwaneg i ddail mor fychain a disdadl yn eich golwg wneuthur yn fwy dymunol na hyny? sef, iachau briwiau yn y rhanau tufewnol ac anweledig o'r corph; ac hefyd y maent yn tòri cnoi yn y frest a'r cylla; y maent yn iachau y clwyf neu y clefyd melyn, trwy eu bod yn agoryd atalfeydd yr iau; ac y maent yn dda i'w hyfed i'r rhai sydd yn cael eu mynych flino gan y gowt; gellwch eu berwi mewn dwfr, a'u melysu â mêl neu siwgr, rhag y dolurian a enwyd uchod: rhag briwiau yn yr ysgyfaint gwell yw eu cnocio a'u straenio, a gwasgu eu sug a'i ferwi hefo siwgr coch, a chymeryd llonaid llwy fwrdd o hono amrywiol weithiau yn y dydd. Y mae rhai yn eu berwi, ac yn eu hyfed i iachau eu hystlysau a'u bol; ond gwelwch fod y dail hyn yn fwyaf neillduol yn gweithio ar y frest. Yn allanol, cymysgwch am ben y drwyth fel ac alum wedi ei losgi, a chymerwch i olchi dolur o'r genau a'r gwddf; nid yn hawdd y cewch ei well. Y mae y dail wedi eu cnoi a'u rhoi ar friw ffres, yn ei iachau yn brysur; ac y mae eu sug, wedi ei ferwi hefo mêl ac ychydig

o *verdigris*, yn glanhau hen friwiau drewllyd, ac y mae yn rhwystro i'r cancr ysu ac ymledaenu; ac hefyd yn helpu neu yn tòri cosfa yn y croen, ac yn gwellhau yr ymgrafu; ac y mae sug y dail a siwgr gwyn goreu, yn dda i'w ddyferu i'r clustiau i dóri y swn ynddynt, ac i fendio y clyw. Y mae eu sug, neu drwyth gref o'r dail, yn dda i'w gymysgu hefo chwrw newydd, efe a'i gloywa mewn un noswaith; ac os bydd y cwrw yn gymysglyd wrth symud y barilau neu ryw beth arall, hwn a'i cliria mewn ychydig oriau.

---

## *Ash.*—Onen.

Y mae y coed hyn yn adnabyddus i'r holl wledydd, fel nad oes dim eisiau ysgrifenu am eu dull, ond yn unig am eu rhinwedd. Y maent yn cael eu llywodraethu gan yr Haul, ac y mae y topiau tyner, neu eu sug, yn rhagorol o dda i'w hyfed i iachau y rhai sydd gwedi cael eu brathu gan gŵn drwg a nadroedd, ac hefyd rhag brathiadau anifeiliaid; gellwch eu hyfed a rhoi y dail tyner yn allanol ar y lle; ac y mae'r dwfr a ddystilir o honynt yn rhagorol o dda i yfed ychydig o hono bob bore i'r rhai sydd yn dueddol i'r dropsi, ac hefyd i'r rhai sydd yn dueddol i fyned yn rhy dew, ac yn dewis cael eu teneuo; y maent hefyd yn dda at y clwyf melyn, ac yn erbyn y grafel, os na bydd y dail i'w cael, gall y rhisgl wneuthur cystal neu

well; a phan ag y b'o yr aelodau yn chwydd coch a phoenus, mae y drwyth yn dda i'w golchi yn fynych âg ef yn gynhes. Fe ddywedodd yr awdwr Pliny, yn ei waith yn ysgrifenu ar eu rhinwedd, eu bod yn mendio brathiadau nadroedd, ond y mae yr enwog Culpepper yn ei wrthwynebu eu bod mor rinweddol; ac yn wir, yr wyf fi yn meddwl y bydd pethau gwell yn y llyfr hwn, gan nad ydyw y dolur yn goddef oedi, ond cyfeirio at y feddyginiaeth oreu yn gyntaf.

---

### *Alexander.*

Y MAE y dail hyn yn adnabyddus wrth eu henwau; y maent yn tyfu ar greigiau y môr, ond yn cael eu trin a'u tyfu mewn gerddi yn lled aml trwy'r gwledydd hyn.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter, ac yn gweithio yn effeithiol ar y frest; y maent yn cynhesu y frest, ac yn ei gwneuthur yn dymherus, ac yn gysurus i'r cylla pan y byddont yn oer; ac y maent yn gweithio ar yr iau, yn gwellhau holl ffaeledd yn yr iau, ac yn agoryd ei atalfeydd, ac yn ei gryfhau: nid yw eu rhinwedd at ranau ereill o'r corph yn werth ei adrodd.

Gellwch eu berwi mewn dwfr neu win, a'u melysu hefo mêl neu siwgr, at y doluriau a enwyd, a chymeryd o honynt wrth eich deall; y maent yn ddiberygl.

### *Elder Tree.*—YSGAW CYFFREDIN.

NID oes dim angenrheidrwydd ysgrifenu i lenwi y llyfr am ei dull, gan ei bod yn dra adnabyddus i bawb o'r mwyaf hyd y lleiaf, ond ymdrechaf wneyd ei rhinwedd mor adnabyddus i'r darllenydd deallus, ag ydyw y goeden i'r wladwriaeth. Y mae y goeden hon yn blodeuo yn Ebrill, ac y mae ei hâd yn aeddfed yn Medi, a'i rhinwedd fel y canlyn:—Y mae y goeden hon yn tyfu tan lywodraeth Venus, a'i rhinweddau yn fwyaf neillduol yn gweithio yn allanol ar gyrph dynion; mae y drwyth neu y dwfr a ddystilir oddiwrth y dail yn rhagorol o dda i olchi llosg tân, ysgaldiad, neu seriad, ei olchi yn fynych i'r dyben i'w oeri, ac i ddiffodd y tân. Gellwch ddal cadachau gwlybion, oerion o'r drwyth, a phan y poethont yn ngwres y dolur, ail wlychwch hwynt drachefn a thrachefn; os na bydd y dail i'w cael, crafwch risgl y pren, y maent yn llawn cystal; gellwch hefyd wneuthur eli da at losg tân, hefo y rhisgl wedi eu berwi mewn bloneg neu ymenyn heb halen; ac mae y drwyth yn dda i olchi briwiau pan y b'ont yn gochion ac afrywiog o'u cwmpas; ac hefyd i olchi rhyw ranau o'r corph os bydd y cnawd yn cochi gan ryw boen; y mae y dail ysgaw yn oeri pob rhanau o'r corph os bydd yn rhy wresog, wrth olchi yn allanol gyda hwynt; ac fe a ddywedir fod y dail yn leision yn dda i'w rhoi dan wadnau y traed noethion, pan wedi ysgaldio wrth drafaelio.

*Dwarf Elder.*—Ysgaw Mair.

Ni chymellais ddim o'r Ysgaw Cyffredin o'r blaen i'w cymeryd yn dufewnol, am fod y rhai hyn yn canlyn, a'u bod yn well a mwy effeithiol yn y doluriau tufewnol; mae y dail hyn yn adnabyddus i'r wladwriaeth yn gyffredinol; y maent yn dra rhinweddol yn erbyn y dropsi, yn gweithio y corph i lawr ac yn ei burgio o'r humours dyfrllyd ac afiachus hyny sydd yn dueddol i fagu y dropsi; ac os gwelwch y corph yn dueddol i lenwi o ddwfr ac afiechyd, cymerwch y dail hyn a berwch hwynt mewn dwfr a mêl, ac yfwch yn fynych o hono, a gwnewch hyn pan byddo y dolur yn newydd; ond pan yr â yn hen, gellir gyda galar ei gyfrif yn anfeddyginiaethol hefo dail yn y byd, ond gellwch ei ragflaenu gyda brys a gofal. Y maent hefyd yn dda i'w cymeryd yn yr un modd yn erbyn y gowt; i weithio y corph i lawr, ac i ostwng chwydd yn yr aelodau, gwell ydynt wedi eu berwi mewn gwin gwyn os caniatâ y boced, ac onidê rhaid cymeryd dwfr, yr hwn sydd yn helaeth ac yn rhad; ac fe all Duw, yr hwn sydd yn rhoi y feddyginiaeth, fendithio y dwfr i'r tylawd yn gystal a'r gwin i'r cyfoethog.

---

*Water Agrimony.*—Cywarch Gwyllt.

Y maent o dan lywodraeth yr un blaned o'r Agrimony ereill, ond yn wahanol yn eu rhinwedd.

Y maent yn tyfu yn ddwy droedfedd o hyd, ac ychwaneg os byddant yn hoffi eu lle. Y mae eu blodau yn grynion ac yn fawr ar eu topiau, o liw rhudd-felyn, ac yspotiau duon ar hyd-ddynt; nid ydynt i'w cael mewn lleoedd gwresog, ond mewn ffosydd, ac ochrau cloddiau lle y b'o dwfr rhedegog, ac ar rai gweithiau gellwch eu cael yn nghanol pyllau o ddwfr; ni fethwch eu cael os edrychwch gyda glanau afonydd a rhyw ddyfroedd rhedegog, ac yn aml mewn llynau sefydlog.

Y maent yn chwerw eu blas, ac am hyny gallaf eu cymell fel meddyginiaeth i'r rhai sydd yn cael eu mynych flino gan y llyngyr, trwy eu hyfed yn y bore, ond nid yw fy meddwl i chwi yfed y dail, ond y drwyth a wneler o honynt. Y mae arferiad cyffredinol yn y wlad hon, pan glywont ryw gosfa yn eu croen, i redeg i ymofyn am botelaid o ddiod y gafod; ond gellwch yn hawdd arbed y gost a'r drafferth hono: berwch a hidlwch y dail hyn, ac yfwch y drwyth yn fynych, hi bura eich gwaed o'r humour ddrwg ac afiach ag sydd yn magu yr ymgrafu a chrach ar hyd y cnawd; yr hyn sydd yn anharddu y person, ac yn ei wneuthur yn annghymeradwy ac anmharchus yn mysg ei gymydogion; ond y drwyth hon a bura eich gwaed, ac a hardda eich croen: heblaw hyn y maent yn cryfhau yr iau a'r ysgyfaint. Y mae rhai yn eu rhoddi i'w hanifeiliaid pan y byddont yn pesychu, ac wedi tori eu gwynt.

### *Wood Betony.*—Cribau Sant Ffraid.

Gan fod y ddeilen hon mor adnabyddus trwy yr holl wlad yn gyffredinol, nid yw yn angenrheidiol ysgrifenu am ei dull. Y mae yn hoffi tyfu mewn coed, llefydd cysgodol, ac yn mysg eithin mân, ochrau cloddiau, a rhyw lefydd o'r cyffelyb, trwy yr holl wledydd yn gyffredinol; pawb sydd yn adnabyddus â dail a'i hadwaen.

*Rhinwedd.*—Y mae y llysieuyn rhinweddol hwn yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter, ac yn arwydd y Cranc. Y mae un o physygwyr Augustus Cæsar wedi ysgrifenu llyfr mawr a helaeth ar amrywiol rinweddau y ddeilen hon; ond nis gallaf roddi y cwbl yn gyflawn yn y llyfr hwn, am ei fod yn rhy fychan i'w cynwys, ac i gynwys rhai ereill hefyd; ond mi a ddewisaf y rhai goreu o honynt yn fyr. Cewch ei rhinwedd goreu yn gyntaf, ac felly am y lleill o'r llysiau; yr hyn nad wyf yn ei weled o fawr ddefnydd ond i ddifa papur, ac i ychwanegu pris y llyfr, a adawaf allan. Yn mysg amrywiol rinweddau y ddeilen hon, fe ddywedir ei bod yn anffaeledig i gadw yr iau rhag llwgr; hyny yw, rhag iddo lygru trwy effeithiau rhyw ddolur peryglus a niweidiol: gwelwn fod y ddeilen hon yn gweithio yn effeithiol ar yr iau a'r frest yn fwyaf neillduol; a'm dyben wrth draethu arni ydyw cadw yn agos at fy nhestyn, ac nid ei chymell i unrhyw ranau ereill o'r corph nad yw yn gweddu. Fe ddywedir ei

bod yn effeithiol i'r rhai y mae eu cylla yn rhy wan i gynal eu lluniaeth, ond yn ei wrthod ac yn ei daflu yn ol; yn dda i'r rhai y mae eu bwyd yn suro yn eu hystumog, a'r rhai sydd a'u hystumog yn mynych weithio i fyny, ac yn mynych dòri gwynt oddi yno; y mae yn dda rhag y clefyd melyn, pesychu, crygni, diffyg anadl, a holl ddoluriau yr ysgyfaint; y mae yn iachau y *decay*, os cymerir hi ar ei ddechreuad, ond os oedir yn hir nid oes ond gobaith gwan am wellhad; gan hyny os canfyddwch fod eich dolur yn beryglus, y treial cyntaf ydyw y goreu, os bydd hyny gyda doethineb; ac y mae hefyd yn dda i'r rhai sydd yn poeri eu gwaed, neu pan y b'o yn dyfod ryw ffordd arall o'r frest: gwelwch ei rhinwedd yn dufewnol yn gweithio ar y frest, yr iau, a'r ysgyfaint.

*Ffordd i'w defnyddio.*—Berwch y dail mewn dwfr yn drwyth gref, a melyswch â rhyw beth cyfaddas, ac yfwch yn lled helaeth o hono dair gwaith yn y dydd, rhag yr holl ddoluriau uchod: neu os dewiswch yn well, gellwch eu cynhafa, eu malu yn llwch, eu gogryn, a'u cymysgu â mêl, a chymeryd o hono hwyr a bore; gellwch hefyd gymeryd y dail yn leision, trwy eu golchi, eu cnocio, eu chwysu, a'u hystraenio, a rhoddi haner pwys o siwgr coch at bob chwart o'r sug, a'i ferwi yn dda, a chymeryd dwy lonaid llwy fwrdd o hono hwyr a bore. Y maent yn ddiberygl hollol.

Yn nesaf cewch ei rhinwedd yn allanol:—Os bydd briw newydd ar y pen, golcher yn fynych

gr-a sug y dail, ac fe groena yn fuan; ac os bydd gofid yn y pen, heliwch, cynhafwch, a chwyswch, a rhoddwch wrth y lle gofidus, ac fe a esmwytha: ac fe ddywedir hefyd eu bod yn dda pan ag y b'o gwythïen neu'r gewyn wedi tòri, trwy eu cnocio a'u rhoddi ar y lle; a thrwy eu cnocio a'u hystwytho â bloneg, gan eu rhoi yn blastr ar benddüyn, neu ryw anafod arall, gwna ei wellhau yn fuan; a dywedir pe byddai asgwrn mewn hen friwiau, y gwnai plastr o'r dail hyn ei dynu allan, ac yn yr un modd os bydd drain neu splinteis o goed, neu ryw beth o'r cyffelyb, wedi myned i'r cnawd, gall plastr o'r dail hyn fod yn foddion llwyddiannus i'w codi allan; y mae agerdd cryf o drwyth y dail trwy bîg tepot, neu ryw beth arall cyfaddas i'r gwaith o fyned i mewn i'r clustiau pan y b'ont yn ofidus, yn tòri'r gofid ynddynt, a dywedir fod eu sug yn llawn gystal i'w ddyferu iddynt. Enw y physygwr a ysgrifenodd ar rinwedd y ddeilen hon oedd Anthony Musa, physygwr i Augustus Cæsar, ac y mae yn dra thebygol nad oedd y gŵr hwnw yn cadw defaid o'i gwmpas; ond pa un bynag am hyny, gellwch gymeryd fy ngair i, eu bod yn ddail rhagorol o dda, ac yn haeddu cael eu cadw yn eich tai trwy'r flwyddyn.

---

*Bugle.*—GLESYN Y COED.

Y MAE y dail hyn yn tyfu mewn llefydd coediog a chacau yn gyffredinol trwy Gymru a

Lloegr. Y maent yn blodeuo o Fai i Gorphenhaf.

Y dail hyn sydd yn tyfu o dan lywodraeth Venus; ac os gwna eu rhinwedd i chwi syrthio mewn cariad tuag atynt (yr hwn a wna, os byddwch ddoeth) cadwch syrup wedi ei wneuthur o'u sug â siwgr coch, i'w gymeryd yn dumewnol, ac enaint i'w ddefnyddio yn all anol, fel y galloch ei gael yn eich ymyl pan nas galloch gael y dail; trwyth o'r dail wedi ei ferwi mewn gwin, neu ddwfr a gwin am ei ben, sydd yn rhagorol o dda i rai wedi cael codymau a briwo oddi mewn, a'r gwaed yn casglu megys tywyrch yn y frest neu ryw ranau ereill o'r corph; y mae y drwyth hon yn ei doddi ac yn ei wellhau: y maent yn rhagorol o dda at bob math o friwiau oddimewn, pa beth bynag a fydd yr achos o honynt; a phan y b'och yn gwneuthur diod ddail at iachau briwiau yn dufewnol neu yn allanol, gwnewch ddefnydd o'r dail hyn, yn nghyda rhai ereill; nid ydynt yn llai eu rhinwedd i'r rhai sydd wedi tòri eu hesgyrn a'u briwo yn eu *joints*, sef eu cymalau. Yn allanol y mae eu sug yn dda i olchi hen friwiau dyfrllyd a drewedig, ac yn gystal i olchi briwiau newydd; a'u sug hefyd sydd yn dda i'w gymysgu â mêl ac alum i olchi y genau a'r gwddf pan ag y byddont yn ddolurus o ba achos bynag, a chancr yn y dannedd neu ryw le arall; nid ydynt yn llai eu heffaith yn y rhanau dirgelaidd i fab neu ferch; cnociwch y dail, a berwch mewn bloneg hyd nes y

byddont wedi crebychu, gellwch roddi yr un faint o Senigl am eu penau, a'u cyd-ferwi, a'u gwasgu trwy liain i lestr i'w cadw a'u defnyddio yn allanol at y doluriau a enwyd; y mae yr ennaint hwn yn rhagorol o dda yn holl ddoluriau a damweiniau y corph, ac ni bydd y rhai a brofasant eu rhinwedd ddim hebddynt, gwir yw; y mae y dail hyn yn gwellhau dynion pan y bo'nt wedi yfed gormodedd o *liquors* poethion a diod frag, a hyny yn codi yr humours i fyny ac yn dyrysu eu hymenyddiau yn y nos, hyd nes y byddant yn tybied eu bod yn clywed amryw leisiau, yr hyn a elwir yn gyffredin y Melancoli; y maent hefyd yn gwellhau y rhai sydd yn cael eu blino gan yr hunllo yn eu cwsg: y ffordd oreu at y dolur hwn yw gwneuthur syrup o'u sug â siwgr, a chymeryd dwy lonaid llwy fwrdd o hono y nos wrth fyned i'r gwely, a hyny ddwy awr ar ol swper

---

*Briony.*—BLONEG Y DDAEAR.

Y MAE y dail hyn yn hawdd i'w cael wrth y patrwn neu y llun sydd yn y gwaith hwn. Y maent yn tyfu ar fanciau ac ochrau cloddiau, ac yn wir, y maent i'w cael yn aml yn mysg yr ŷd a'r rhesi pytatws, ac amrywiol fanau ereill trwy y gwledydd yn gyffredinol. Y maent yn blodeuo yn Gorphenhaf ac Awst. Y mae gwraidd y dail hyn yn purgio gyda brys, a thrwy hyny yn tynu yr humours i lawr o'r

pen, yr hyn sydd yn achos o'r cryd-cymalau yn y pen, a'r polsi, ac hefyd pen-ysgafnder, a phoen ac ystyffni yn y cymalau, y gewynau, a'r cylymau-gweithi; fe ddywedir yr iachâ y dail hyn yr holl bethau a enwyd; y mae y dail hyn yn elyniaethol i'r frest a'r iau; ac os byddwch yn cael eich blino gan rai o'r doluriau uchod, ac angenrheidrwydd yn eich cymell i gymeryd o'r dail hyn, edrychwch am ddail sydd yn gwellhau yr iau a'r frest, a berwch yr un faint neu fwy o honynt ar benau eu gilydd, fel y gallont amddiffyn yr iau a'i gadw yn ddiberygl, tra y b'o y lleill yn gwneuthur eu gorchwyl ar y pen a rhanau ereill o'r corph. Y mae amrywiol rinweddau ereill yn cael eu cymell i'r wladwriaeth fel meddyginiaeth, i amrywiol ddoluriau tumewnol yn ychwaneg nag a enwais, ond myfi a'u rhoddaf heibio am eu bod yn gweithio y corph yn rhy galed, gall corph gwan gael ei daflu i ormod o wendid; (pob peth nas gallaf ei gymeryd fy hun nis gallaf ei gymell i'm cydwladwyr.) Un dram (hyny yw, yr wythfed ran o wns sydd ddigon i'w gymeryd, a hyny yn y nos wrth fyned i'r gwely, ddwy waith yn yr wythnos. Yn awr cewch eu rhinwedd yn allanol, yr hyn sydd yn hollol ddiberygl.

Y mae sug y dail, neu bowdr o'r gwraidd, yn rhagorol o dda i'w roddi ar hen friwiau drewllyd, ac y mae y powdr a wneir o honynt yn dda i'w roddi ar gancr neu ryw ddolur arall a natur cerdded ynddynt, sef crach yn ymled-

aenu ar hyd y corph; ac fe ddywedir hefyd eu bod yn dda i iachau crach y gwahan-glwyf, i lanhau y croen oddiwrth bob math o farciau duon a gleision, creithiau, ac amrywiol bethau ereill a all hagru cyrph dynion; ond gallwn feddwl mai ei sug ydyw y goreu i olchi y doluriau hyn. Os bydd esgyrn rhyddion mewn briw ac eisiau eu cael allan, powdr o wraidd hon a'u tyn hwynt; a drain, neu splinters o goed yr un modd: cymysgu y powdr gydag ychydig wîn, a'i roi yn blastr ar benddüyn a'i tyr ef yn fuan; ac y mae yn dda i iachau y myddigad yr un modd. Ei rhinwedd allanol sydd ganmoladwy ac heb ddim perygl. Ond cymeryd pwyll i chwilio y llyfr, cewch ei gwell at y cryd cymalau, y polsi, a'r amrywiol ddoluriau a enwyd yn flaenorol.

---

*Lady's Bedstraw.*—Llysiau'r Panwr.

Y mae y ddeilen hon yn tyfu ar goes-fain o gylch llathen o hyd, yn ymdaenu allan yn amrywiol ganghenau, a llawn o gymalau, a'r rhei'ny yn llawn o ddail mân, ac ar ei phen flodau melynion: y mae math arall o honynt a blodau gwynion arnynt, ond eu coesau sydd mor weiniaid fel nas gallant gynal eu hunain, oddieithr iddynt fod ar ochrau y cloddiau. Y maent yn tyfu mewn gweirgloddiau gwlybion a sychion, mewn porfeydd ac ochrau y cloddiau. Y maent yn blodeuo yn Mai, yn gy-

ffredin, a'u had yn aeddfedu yn Gorphenhaf ac Awst. Mae y ddwy yn tyfu o dan lywodraeth Venus, ac yn cryfhau y rhanau hyny o'r corph ag y mae hi yn rheoli neu eu llywodraethu.

Y mae y ddeilen hon yn fwyaf neillduol i dori y gareg, ac i iachau y grafel: y mae rhai pan y b'ont yn cael ei blino yn drwm gan y grafel a'r gareg yn dueddol i biso eu gwaed yn fynych; ond y ddeilen hon sydd feddyginiaeth dda iddynt; yna gallwn benderfynu ei bod yn gwellhau briwiau tufewnol yn y rhanau anweledig o'r corph; ac yn atal y gwaedlif, trwy guro y dail a'u rhoi yn y ffroen a f'o yn gwaedu. Yn allanol:—Heliwch y dail a'r blodau, cnociwch a rhoddwch hwynt i sefyll mewn salad oil am ddeuddeng niwrnod yn ngwres yr haul, neu, os na cheir haul, gall dwfr cynhes wneyd y tro; yna hidliwch trwy liain; oil i ddiffodd tân yw hwn, pa un bynag ai wedi llosgi â thân neu ysgaldian â dwfr, fe wna hwn y tro i'w atal: ac os byddwch yn dewis ei gael yn eli llosg tân, rhowch am ei ben gŵyr melyn neu wyn, i'w ffitio i dewdwr eli; hwn a ddiffydd y tân, ac a grocna y lle. Mae trwyth gref o'r dail yn dda i olchi traed, coesau, a chymalau y rhai fo wedi blino a stuffio wrth drafaelio, ond rhaid eu golchi âg ef yn gynhes. Gallaf hefyd gymell yr eli, a gymellwyd o'r blaen at losg tân, i fendio crach ac ymgrafu ar blant. Y mae y ddeilen hon, pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol, yn hollol ddiberygl; gellwch eu berwi ac yfed y drwyth mor fynych

ag y b'och yn dewis, a rhoi rhyw beth cyfaddas am ei ben i'w felysu; gallwn feddwl mai **mêl** ydyw y goreu at y gareg a'r grafel.

---

### *Bistort.*—LLYSIAU'R NEIDR.

Y MAE gan y ddeilen hon wreiddyn ffyrf, yn ddu oddi allan ac yn goch oddifewn. Y mae ei hamrywiol ddail yn lled debyg i ddail tafol, yn wyrddlas, ac ar goes o gylch troedfedd o hyd, ac yn tyfu mewn coed-tir lled laith a chysgodol. Y mae hi yn blodeuo yn niwedd Mai, a'i hâd yn aeddfed yn Gorphenhaf.

*Rhinwedd.*—Y ddeilen hon sy'n tyfu o dan lywodraeth Sadwrn; y mae hi yn ei heffeithiau yn oer ac yn sych. Y mae y gwraidd a'r dail yn effeithiol yn erbyn gwenwyn: cymerwch lonaid llwy dê o'r gwraidd wedi ei bowdro mewn diod frag yn erbyn gwenwyn, ac yn yr un modd yn erbyn y pla a'i effeithiau gwenwynllyd; hefyd yn dda i'w yfed yn y frech wen a'r frech goch, a phob rhyw frech arall sydd o dan yr enw pla: y ddiod hon sydd yn eu gyru allan trwy chwys. Y gwreiddyn yn bowdr, neu y drwyth, a'i gymeryd mewn gwin coch, sydd yn iachau y clwyf gwaed, ond ei yfed yn fynych, a'i felysu â siwgr gwyn; ac nid ydynt ddim llai eu heffaith i'w cymeryd yr un modd at bob math o wendid oddi mewn, a phoeri neu gyfogi gwaed. Gwelwch fod y dail hyn yn gweithio yn effeithiol yn erbyn pla o bob gradd

a natur, ac yn effeithiol i atal gwaed. Y mae eto un rhinwedd rhagorol ac angenrheidiol; y gwraidd wedi eu berwi mewn gwin a'i yfed, sy'n cadw merched rhag misgario, ac yn lladd llyngyr ar blant bach.

Yn nesaf am danynt yn allanol.—Y mae y powdr a wneir o'r gwraidd yn dda i atal gwaed o friw, neu wythïen wedi tòri, trwy ddim yn ychwaneg na'i roddi ar y toriad; y gwraidd hyn, a Pelitory Spain, ac alum, yr un faint o bob un, wedi eu powdro yn llwch mân, eu gwneuthur yn bills a'u rhoi yn nhwll y dant, ac os na fydd twll, rhowch rhwng y dannedd yn y fan ag b'o y boen, fe a'i tyr yn fuan: ac y mae y gwraidd wedi eu berwi yn dda i olchi caner yn y genau neu y ffroenau.

---

*Brooklime.*—LLYSIAU TALIESIN.

Y MAE y dail hyn yn tyfu mewn ychydig o ddwfr sefydlog, yn agos i ferw y dw'r. Y maent yn eu blodau yn Mehefin a Gorphenhaf, a'u had yn aeddfed yn Awst. Mae y dail hyn a berw y dw'r yn tyfu yn agos i'w gilydd, ac y maent yn cael eu berwi yn nghyd; y dail hyn sydd ragorol o dda i buro y gwaed. Heliwch yr un faint o'r dail hyn ac o ferw y dw'r, eu nocio a'u hystraenio trwy liain, a rhoi haner pwys o siwgr coch am ben chwart o'r sug, a'i botelu, a chymeryd llonaid llwy ffwrdd o hono

nos a bore i buro y gwaed, i iachau yr ysgyrfi, a phob rhyw d riadau allan o'r croen. Afiechyd ac ammhuredd yn y gwaed ydyw'r achos o'r ysgyrfi, ymgrafu, a phob rhyw anharddwch ar y croen. Y mae y dail hyn yn dda i'w ffrio gydag ymenyn a finegr, a'u rhoi ar chŵydd a chochni. Nid oes dim angenrheidrwydd i roi desgrifiad am ferw y dw'r na'u rhinwedd, am fod yr un effaith ynddynt a'r dail hyn, a gwasanaetha y naill lle y gwna y llall: rhinwedd y ddwy yw puro y gwaed. Gellwch eu cyd-ferwi ac yfed y drwyth wrth eich rheswm, pan ganfyddwch eich gwaed ag eisiau ei buro.

---

## *Balm.*—Bôm.

Mae y ddeilen hon yn hollol adnabyddus gan ei bod yn tyfu yn y gerddi· mae hi o dan lywodraeth Jupiter, ac yn arwydd y Crane.

Rhinwedd y ddeilen hon yw cryfhau y galon yn erbyn gwasgfeuon a darfodedigaeth. Y mae physygwyr Arabia yn dyrchafu ei rhinwedd hyd yr awyr; er hyn nid ydyw y Groegwyr ddim yn gweled gwerth ganddynt sylwi ar ei rhinwedd, ac eto y mae un physygwr o'r enw Seraphio, yn cadarnhau ei bod yn gwneuthur y meddwl a'r galon yn llawen, yn amddiffyn y galon yn erbyn gwendid a gwasgfeuon, yn gyru ymaith y meddyliau trafferthus i gerdded, ac yn cadw y corph yn fwy effro a bywiog, trwy

ei bod yn gorchfygu y meddyliau trafferthus pa rai sy 'n codi oddiar y melancoli. Y mae un awdwr arall o'r enw Arieen, yn cadarnhau fod rhinwedd y ddeilen hon yn gweithio y melancoli a'r humours allan o'r gwaed ac o'r galon. Y dail wedi eu berwi mewn cwrw, a rhoi ychydig spirit nitre ynddo, sydd dda i'w yfed rhag gwenwyn a fydd rhai yn ei gael wrth fwyta mushrooms.

Gwelwch fod y ddeilen hon yn effeithiol weithio ar yr ysprydoedd a'r galon: y mae yn feddyginiaeth hawdd i'w chael, a'i chymeryd. O! na byddai i lawer o gyfoethogion ein gwlad gadw syrup o honi, sef ei sug a siwgr, yn eu tai trwy y flwyddyn, i'r dyben i'w gyfranu yn rhad i'w cymydogion tlodion ac afiachus.

---

## *Bay Tree.*—Dail Cwrw.

Y mae y goeden hon yn adnabyddus i bawb o'r bron, ac y mae hi yn tyfu yn ngerddi y palasau trwy yr holl wledydd: y mae hi yn tyfu o dan lywodraeth yr Haul, ac yn arwydd y Llew; dywedir na wna na mellt na tharanau niwaid i ddim lle y byddo y goeden hon yn tyfu. Galen oedd y physygwr a ysgrifenodd ar ei rhinwedd. Saith o'r cnapiau neu y grawn (berries) sy'n tyfu arni, sydd dda i'w rhoi i ferch pan y b'o hi mewn labour caled; dylid eu malu yn fân a'u rhoi mewn rhyw beth

cyfaddas; ond byddwch sicr ei bod wedi pasio ei hamser cyn eu rhoi iddi, rhag iddynt godi y labour yn rhy fuan; a deuant a'r ail i lawr hefyd: dywedir eu bod yn lladd y llyngyr, ac yn chwalu gwynt y fam: berwi y dail yn drwyth gref ac eistedd uwch ben eu hagerdd, sydd dda i ferched fo'n cael eu blino gan y fam, hefyd yn dda yr un modd i wellhau holl ddoluriau a ffaeleddau y chwysigen, ac ataliad y dwfr o achos y grafel neu ddolur y gareg; y maent hefyd yn bur dda i fathio yr aelodau pan y b'ont yn boenus, ac yn erbyn y cylymau gwythi, a phan y bo'r aelodau yn ddideimlad; y ffordd i'w gymeryd yn dufewnol, yw llonaid cwpan dê ar unwaith.

---

## *Beans.*—FFA.

MAENT yn tyfu yn y gerddi, y caeau, neu ryw le y plenir hwynt, ac o dan lywodraeth Venus. Mae y dwfr a ddistilir o'u blodau yn harddu y gwyneb, yn ei gadw rhag myned yn grychlyd yn fuan, ac yn tynu y spotiau duon a gleision oddi arno: mae y dwfr a ddistilir o'u codau gleision yn gweithio yn effeithiol yn erbyn y gareg a'r grafel. Ond nyni a drown yn allanol:—Mae blawd y ffa yn cael ei arfer yn llwyddiannus mewn powltis yn erbyn pob math o enynfa, sef cochni yn y cnawd, yn enwedig o gwmpas briwiau; ac hefyd i ostwng chwydd yn mronau merched pan b'o llaeth yn

casglu, ac yn chwyddo; blawd Ffa a *Fenugreek seeds* wedi eu malu a'u cymysgu â mêl, gan ei wneuthur yn bowltis, sydd yn gwellhau pob math o chwydd a marciau ar ol codymau, ymladdfeydd, neu ryw beth o'r cyffelyb, ac yn dda i ostwng chwydd o dan y clustiau; blawd Ffa a had *Fenugreek*, yn nghyda gwynŵy, a'u gwneyd yn blastr sydd dda i'w roddi y nos ar yr amrantau, pan fyddo'r llygaid yn chwyddedig a dyfriog; hefyd eu blawd wedi ei wneuthur yn bowltis gyda finegr ac oil, neu ymenyn gwyrdd, sydd yn dda i ostwng chwydd yn y dirgelleoedd.

---

## *Burdock.*—CACAMWCI LLEIAF, CEDOR-Y-WRACH.

MAENT yn fwyaf neillduol i ferched; trwy rinwedd y dail a'r hadau y gellwch dynu'r groth ffordd y mynoch; os bydd hi yn syrthio i lawr, gellwch wneyd plastr o'r dail, neu'r had a'u rhoddi ar goryn y pen, a hyn a'i cwyd i fyny; ac os bydd y groth yn codi i fyny, ac yn eich mygu megys gwynt y fam, rhoddwch y plastr wrth wadnau eich traed; ac os byddwch yn dewis cadw y groth yn ei lle, rhoddwch wrth eich bogel: dyma un ffordd dda i sefydlu y plentyn yn y groth. Cymerwch un dram o'r gwraidd ar unwaith wedi eu powdro rhag poeri gwaed: a llonaid llwy fwrdd o sug y dail mewn hen win, a hyny yn fynych, rhag brathiadau nadroedd a chŵn cynddeiriog, a churwch

y gwraidd a chymysgwch â halen, a rhoddwch hwy yn allanol wrth y brathiad: cymysgwch lwyaid o'u sug mewn mêl, a chymerwch yn fynych rhag y grafel, neu'r had wedi eu powdro a'u cymeryd mewn gwin gwyn. Yn allanol fel y canlyn:—Curwch y dail a rhoddwch yn blastr poeth wrth y gewynau pan ag y byddont yn boenus neu yn cwtogi: y dail wedi eu curo yn nghyda gwynŵy, a'u rhoddi yn blastr ar losg tân, a ddiffydd y tân, ac a'i gwella ef yn hollol iach. Gellwch gymeryd yr had a'r gwraidd yn dufewnol wrth eich deall eich hunan: pan y siaradwyf am ddail a rhyw enbydrwydd ynddynt, myfi a roddaf y swm ar lawr.

---

### *Broom.*—BANADL.

I DREULIO amser am eu dull, nid yw o ddim llesad, gan eu bod yn adnabyddus trwy y wlad, ac yn dyfetha yr holl dir lle maent yn tyfu. Eu rhinwedd fel y canlyn:—Mae eu had wedi eu powdro a'u cymeryd mewn gwin, yn gweithio yr humour ddyfrllyd i lawr o'r corph, sef y dropsi a'r gowt, a phoen yn y cymalau a'r cefn; i wellhau y clwyf melyn; ac i'w berwi mewn dwfr i olchi coesau chwyddedig; ac os berwch mewn oil, hwy fyddant lawer iawn gwell: a dyma yr anffaeledig beth a ladd yr holl lau yn y pen a lleoedd ereill hefyd.

### *Blue-bottle.*—Y Ben Galed.

Maent yn tyfu yn mysg ŷd; mae y dail hyn yn oer yn eu natur, ac y mae powdr o'r dail sychion, a'i gymeryd ar fêl yn rhagorol o dda i'r rhai f'o gwedi cael codymau a'u briwio oddi fewn, ac i atal gwaedu yn dufewnol, trwy eu cymeryd mewn dwfr wedi berwi cwmphri ynddo; hefyd y maent yn dda yn erbyn brathiadau pob ymlusgiaid gwenwynig, a'u sug sydd yn iachau pob briwiau newydd, ac yn eu prysur groeni.

---

### *Buck'shorn Plantain.*—Dail Llwynhidl.

Y dail hyn wedi eu berwi mewn gwin a'u hyfed, a rhoddi'r dail yn allanol ar y lle, sydd yn iachau brathiadau nadroedd; y maent hefyd yn helpu dolur y gareg, hefyd yn iachau y rhai sydd yn taflu eu bwyd i fyny, ac yn atal gwaedu o'r genau a'r ffroenau, y clwyf gwaed, a'r rhai sydd yn gwneuthur dwfr gwaedlyd; trwy eu berwi mewn cwrw neu win, a'u hyfed nos a boreu, iacheir pob math o ddolur yn y llygaid.

---

### *Colt'sfoot.*—Dail Carn yr Ebol.

Y maent yn adnabyddus i bob dyn, yn eu nerth o Ionawr hyd Fawrth; y maent yn rhagorol o dda rhag pesychu a chaethiwed, ond

y dail wedi eu sychu sydd oreu i rai a fyddo yn pesychu ac yn poeri llawer, i'w cymeryd megys tobacco a'u smocio; y maent hefyd yn dda i ostwng chŵydd, ac yn dda hefyd rhag tàn-eiddew, trwy eu gwneyd yn eli â bloneg; maent yn dda hefyd rhag y peils, trwy eu berwi mewn dwfr, a rhoddi cadachau poethion ar y lle. Y ffordd i'w cymeryd, yw eu berwi mewn dwfr, a rhoddi ynddynt fêl a siwgr coch, a'u cymeryd wrth eich angen.

---

## *Comfrey.*

Dyma ddail oerion yn y trydydd gradd; y maent yn helpu y rhai sydd yn poeri eu gwaed, a'r rhai sydd yn gwneuthur dwfr gwaedlyd. A'r gwraidd wedi eu berwi mewn dwfr neu win a'i yfed, sydd yn dda i bob math o friwiau tufewnol, ac yn helpu rhai i boeri yn esmwyth pan fyddont yn methu cael y fflems i fyny; y maent yn atal y cyrsiau misol pan y byddont yn rhy helaeth, a'r gwynion yr un modd, trwy eu berwi mewn gwin coch ac yfed y gwin, neu gymeryd powdr o'r gwraidd ar win. Ac yn allanol, cnociwch y dail a rhoddwch ar friwiau newyddion, a hwy a groenant yn fuan; ac nid oes eisiau mo'u gwell i rai a fyddo wedi tori eu llen-gig, trwy yfed y powdr o honynt ar win coch, a rhoddi'r dail yn allanol ar y lle; y dail hefyd sydd dda i'w gwneuthur yn blastr neu bowltis ar fronau merched pan fyddo gormod o laeth ynddynt.

## *Camomile.*

NID yw yn angenrheidiol treulio amser gyda y rhai hyn, gan fod eu rhinwedd mor adnabyddus yn eich plith am chwalu pigiadau, a thori poen yn yr ystlysau, ac i chwysu yn nechreu'r doluriau; y maent yn gyffredin yn dda mewn chwys i esmwythau'r corph o goryn y pen hyd wadn y troed; ac y maent yn dda yn erbyn y cryd, trwy eu hyfed yn gryf yn nechreu y ffit a chwysu ar ei ol; ac yn dufewnol y maent yn esmwythau poen yn y bol, y colic, a'r grafel: y ffordd oreu yw cymeryd y blodau a'u gwneyd yn bosel gyda diod frâg a thriagl, a chwysu, i dori pigiadau; ac y maent yn dyfod a'r cyrsiau misol i lawr ar ferched; a'u sug wedi ei ferwi yn nghyda'u blodau mewn gwin gwyn, sydd dda yn erbyn y clwyf melyn a'r dropsi.

Yn allanol.—Y maent yn dda i helpu y gewynau, trwy eu golchi â hwynt yn boethion; ac nis gellwch gael gwell deilen na hon rhag pob math o oerfel yn yr aelodau. Cymerwch eu sug yn nghyda siwgr yn erbyn y spleen, ac y mae'n bosibl eu bod yn dda; ond pa fodd bynag am hyny, y maent yn rhagorol o dda rhag dolur y gareg; a hyn a'i profa, os cewch gareg wedi ei thynu oddiwrth ddyn a'i rhwymo i fyny mewn camomile, cewch weled y todda yn fuan hefyd.

*Dandelion.*—DAINT Y LLEW.

BERWCH eu gwraidd mewn gwin gwyn os gellwch ei gael, onidê mewn dwfr, ac yfwch o hono rhag y grafel, y clwyf melyn, a'r spleen, ac yn enwedig peidied y rhei'ny a'i anghofio sydd mewn *decay* o herwydd ei fod yn rhagorol dda iddynt i'w yfed yn fynych; ac y maent yn caniatau esmwythdra a chwsg esmwyth i'r rhai sydd yn ffaelu ei gael o herwydd y gwres yn y cyrph. Mae y Ffrancod a'r Isellmyn yn eu bwyta yn y gwanwyn i gadw eu cyrph mewn iechyd, ac os edrychwch ychydig pellach gellwch weled yn eglur, heb yspectol, fod physygwyr gwledydd tramor a llawer llai o hunan ynddynt nag sydd ynom ni yn y wlad hon, a'u bod yn llawer mwy ymdrechgar i ddangos rhinweddau y dail i'w cyd-greaduriaid.

---

*Eye-bright.*—TORFAGL, LLYGAID SIRIOL.

FE'U gelwir fel hyn o herwydd sirioldeb y blodau, ac hefyd o herwydd eu rhinwedd at y llygad. Y maent yn tyfu mewn gweirgloddiau gwair a thyndir trwy yr holl wledydd. Pe byddai y dail hyn yn cael eu defnyddio mor fynych ag y maent yn cael eu hesgeuluso, hwy a ddyfethent waith y rhai sydd yn gwneyd yspectols; y sug neu y dwfr a ddistilir oddiwrth y dail sydd yn dda i'w ddyferu i'r llygaid

elwyfus; ac yfed y dail fel tê, neu wedi eu berwi mewn broth, a'i yfed yn fynych, sy'n cryfhau y golwg pan y byddo yn pallu trwy henaint, neu ryw achos arall; maent hefyd yn cryfhau y synwyrau gweinion, trwy eu berwi mewn diod frag, a'u hyfed yn fynych.

---

## *Fern.*—Rhedyn.

Mae dwy ryw o'r rhai hyn, sef yr wrryw a'r fenyw; mae y fenyw yn tyfu yn uwch, ac yn fwy bylchog, ond eu rhinwedd sydd yr un effaith yn gymhwys; mae eu gwraidd, wedi eu morteru a'u berwi mewn dwfr, gan eu hyfed yn y bore, yn lladd dau fath o lyngyr, sef y llydain a'r crynion, ac yn gwellhau caledrwydd a chwydd y spleen; eu gwraidd wedi eu powdro mewn bloneg sydd yn gwneuthur eli gwerthfawr i iachau briwiau neu bigiadau drain gwenwynig; ac os rhoddwch eu powdr mewn hen dyllau dyfrllyd drewedig hwy a'u hiachant ac a'u croenant yn fuan. Dymunaf ar ferched beidio a'u cymeryd yn dufewnol, ond i'r meibion y maent yn ddiberygl.

---

## *Fennel.*—Ffanigl.

Y maent yn dda i dori gwynt, a'i chwalu; ac yn dda rhag y grafel, ac yn help i dori'r garcg; a'r dail wedi eu berwi mewn *barley*

*water*, neu ddwfr haidd, sydd yn dda i ferched i ychwanegu eu llaeth a'i wneyd yn fwy iachus i'w plant, ond iddynt ei yfed yn lled aml; a'r hadau wedi eu berwi mewn gwin sydd dda i iachau brathiad neidr, neu i rai a fyddo wedi bwyta dail gwenwynig, cegyd, neu ryw beth o'r cyfryw. Mae'r hadau i'w cael yn siop y Druggist drwy y flwyddyn; y maent hefyd yn dda, trwy eu berwi mewn potes, i wneyd y rhai sydd yn dueddol i fyned yn rhy dewion yn fwy teneu.

---

*Hoarhound.*—LLWYD Y CŴN.

BERWCH y dail sychion a'r hadau, yn nghyda mêl, ac os byddant yn leision cymerwch eu sug ac yfwch o hono yn lled fynych rhag y pesychu, y diffyg anadl, a'r *decay;* ac y maent yn dda mewn *travail* hir a phoenus, i'w cymeryd yn y ffordd uchod; ac yn dda i rai a fyddo wedi cymeryd gwenwyn, neu gael eu pigo neu eu brathu gan unrhyw ymlusgiaid gwenwynig; a snuffio eu sug i'r ffroenau sydd yn gwellhau'r clwyf melyn; eu cymysgu âg *oil of roses,* a'u dyferu i'r glust, sy'n tòri'r boen yno; y maent yn gwellhau y frest, yr iau, yr ysgyfaint, a'r spleen, trwy eu hyfed yn fynych: cymeryd ychydig o'u powdr bob bore, sydd yn lladd y llyngyr yn y bol, a chnocio y dail yn leision yn nghyda bloneg sydd yn gwellhau brathiadau cŵn, a phigiadau drain.

*The Lesser Celandine.*—DAIL PEILS, LLYGAID EBRILL.

YR wyf yn rhyfeddu beth a wnaeth i'r henafiaid alw y dail hyn yn Celandine, nid ydynt yn tebygu dim iddynt mewn dull na rhinwedd; ond tybiaf eu bod yn haeddiannol o'r enw hwn, sef Dail Peils: eithr am fod amrywiol a gwahanol enwau ar ddail mewn amrywiol wledydd, er boddlonrwydd i dderbynwyr y llyfr hwn, casglaf yn nghyd eu hamrywiol a'u gwahanol enwau Cymraeg, i'w rhoi yn nghyd ar ddull *Dictionary* yn niwedd y llyfr, yn nghyda chyfarwyddyd i wneuthur y defnydd goreu o bob rhan o'r llysiau meddygol a enwir yn y llyfr hwn; ac hefyd y ffordd i gymhwyso dail o'r un natur a'r dolur at eu gilydd, fel y gallont gyd-weithio er daioni i symud ymaith afiechyd; chwanegaf hefyd dabl plaen ac eglur, a ddengys pa blaned sydd yn rheoli pob awr am y pedair awr ar hugain, ac felly yn y blaen am yr wythnos; gellwch ddysgwyl y tabl hwn yn gywir, ac nid wedi ei ffugio, heb genad y cyfieithydd, er mwyn elw. Ond i ddyfod yn mlaen at eu ddull:—

Y maent yn tyfu tan lywodraeth Mars, ac yn ddail noddlyd, o liw gwyrdd lled wan, ac ar goesau eiddil, yn agos i'r ddaear; ac yn ddail llyfnion, ac arnynt flodeuyn a naw neu ddeg o ddail culion arno; y maent yn gyffredin yn tyfu mewn cornelau lleithion yn agos i ddwfr,

ond yn anaml i'w cael mewn lleoedd sychion; os byddant yn lled gysgodol y maent i'w cael, ac yn blodeuo yn niwedd Mawrth ac yn Ebrill; ond yn Mai byddant wedi darfod, ac ni fyddant i'w cael dan yr ail wanwyn; gan hyny gwelwch nad oes genych ond un mis yn y flwyddyn i wneuthur cynhauaf o honynt.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn o dan lywodraeth Mârs. Yr henafiaid ydynt wedi canfod rhinweddau amryw ddail oddiwrth eu tebygolrwydd i'r dolur, fel ag y mae yn ymddangos yn amlwg oddiwrth y dail hyn; codwch eu gwreiddiau, cewch eu gweled yn hongian wrthynt yn amrywiol gnapiau mân, yr un dull a'r peils pan y byddont yn tòri allan,—y mae delw y peils i'w weled yn gyflawn ynddynt. Y maent yn rhagorol o dda yn y peils pan y b'ont yn tòri allan yn dethi neu yn gnapiau, trwy eu hel, sef y dail a'r gwraidd, a'u cnocio a'u berwi mewn ymenyn gwyrdd hyd nes y b'ont wedi crebychu, gan eu streinio trwy liain, a'u cadw yn eli i iro y peils, ac yn fynych fe a'ch gwellha yn fuan. Mi a hysbysaf i chwi un dirgelwch eto am danynt,—y maent wedi eu gwneyd yn eli, yn blastr, neu yn bowltis, a'u rhoi ar chwarenau a f'o yn nghylch y clustiau neu'r gwddf, yr hwn yn gyffredin a elwir yn Fanwynau yn y gwledydd hyn, yn ei wellhau; ac y mae'r awdwr a ysgrifenodd ar eu rhinwedd o'm blaen i, yn cadarnhau eu bod yn gwellhau y doluriau a enwyd wrth wisgo y gwraidd ar y croen, er na fyddant yn cyffwrdd dim â'r lle

dolurus, ond eu bod yn nesaf i'r croen mewn rhyw fodd; fe ddywedir eu bod yn gwellha y dolur, ond ni ddarfu i mi erioed eu treio yn y ffordd hon ar neb, ac ni bu yr achos erioed genyf i'w treio arnaf fy hun; ond am y rhai sydd yn cael eu blino gan y doluriau a enwyd, gallant eu treio yn ddigost, ac yna dyweyd am eu rhinwedd os byddant yn haeddiannol o hyny: gallaf finau roddi fy ngair fel canmoliaeth iddynt am ostwng chwydd yn rhyw le o gylch y gwddf, trwy eu gwneyd yn bowltis, a'i ystwytho hefo bloneg, a'i wneyd bob dydd.

---

## *Small Centaury.*—YSGOL FAIR.

Y MAE dau fath o'r dail hyn, un ac arnynt flodau o liw coch gwan, go fychain, a'r llall ac arnynt flodau gwynion bychain; ond y mae rhinwedd y ddau yr un fath.

Y maent yn tyfu yn gyffredinol o gylch troedfedd o hyd, ar un goes, ac yn agos i'r top y maent yn amrywiol ganghenau, ac arnynt bump neu chwech o ddail, pa rai sydd yn agored yn y dydd ac yn gauad yn y nos, yr un modd a dail St. John; ac ar ol hyny y daw yr hadau, y rhai ydynt ryw beth yn debyg i wenith; eu gwraidd sydd feinion a chaled, o flas chwerw; y maent yn tyfu yn gyffredin mewn caeau, porfeydd, a llefydd coediog, ac yn blodeuo yn mis Gorphenhaf, neu o gylch mis ar ol hyny.

*Rhinwedd*—Y maent o dan lywodraeth yr Haul, yr hyn sydd amlwg oddiwrth fod eu blodau yn cau ac yn agor i ganlyn eyfodiad a machludiad yr haul; y mae y dail hyn wedi eu berwi mewn dwfr, a'i yfed, yn dda i agoryd atalfeydd y bustl a'r spleen. Dalwch sylw fod pob peth sydd yn gwellhau y bustl yn gwellhau y spleen a'r clefyd melyn, am fod eu gwreiddyn yn gyffredin yn tarddu o'r un man. Maent yn gwellhau y colic os bydd yn codi oddiar y spleen, ac y maent yn lladd y llyngyr yn y bol,—gallwn feddwl hyn oddiwrth eu chwerwder; gellir cymeryd un dram, hyny yw, rhanu wns yn wyth ran, a chymeryd un o honynt (sef y llwch neu y powdr a wneir o honynt) yn erbyn brathiad neidr, mewn mêl, dair gwaith yn y dydd yn yr achos hwn.

Yn allanol.—Y maent yn dda trwy eu berwi i fathio neu olchi y cymalau pan y byddont yn boenus, a'r crampiau sef y cylymau gwythi, a rhyw ranau o'r corph neu yr aelodau pan y b'ont wedi gwanhau gan y confulsion; rhaid eu golchi a'u lapio mewn gwlanen cyn y gellir dysgwyl fawr o leshad yn y doluriau hyn. Y maent yn dda, trwy eu cnocio a gwasgu eu sug, a'i ddyferu i'r llygaid pan y b'ont yn glwyfus ac yn dylu, a phethau fel cymylau yn ymddangos o'u blaen, yr hyn sydd yn tywyllu y golwg; a'i ddiferu i'r clustiau sydd yn eu glanhau oddiwrth y pryfaid, pa rai sydd yn dueddol i fagu yn y clustiau; y mae eu sug hefyd yn dda i olchi briwiau newydd, un neu

ddwy waith yn y dydd,—y mae yn eu tyfu ac yn eu crocni, ac y maent hefyd yn glanhau hen friwiau; y dail wedi eu cnocio sydd gystal a'r sug i'w rhoi ar y briwiau, am y gellir cael y dail pan nas gellir cael y sug; y maent yn dda trwy eu berwi yn drwyth gref i olchi crach a f'o yn ymledaenu yn y pen; ac y maent yn dda i'w berwi at olchi y gwyneb, neu ryw fanau ereill o'r croen pan ag y b'o eisiau eu glanhau oddiwrth farciau a spotiau annymunol a fyddo ar y croen. Y mae y dail hyn yn hollol ddiberygl, gellwch eu berwi a'u hyfed fel ag y dewisoch, sef wrth eich rheswm; y mae tri math o honynt, un a blodau gwynion, a'r llall a blodau cochion a'r llall yn felynion, ac y maent oll o dan lywodraeth yr Haul; ond os byddwch yn eu cymeryd at y gwaed cymerwch y coch; os byddwch yn eu cymeryd at y clefyd melyn, sef puro a chlirio y lliw, cymerwch y rhai melynion; ac os yn erbyn *humours* dyfrllyd, sef y dropsi neu ryw chwydd dyfrllyd arall, cymerwch y rhai a'r blodau gwynion.

---

## *Crow's-foot.*—Crafangc y Fran.

Y mae ar y ddeilen hon gymaint o wahanol enwau yn y Saesoneg a'r Groeg, a phe bawn yn eu henwi, nis gwnaent ond blino amynedd y darllenydd, am hyny gosodais ger eich bron yr enw mwyaf adnabyddus ac angenrheidiol,

Y mae arni amrywiol ddail gwyrddion tywyll, ac amrywiol doriadau neu fylchau ynddynt, o flas siarp a phoeth, ac yn plistro y tafod wrth eu cnoi. Y mae yn tyfu yn gyffredinol yn mhob lle, nis gellwch yn hawdd gerdded y ffordd heb ei gweled, oddieithr i chwi droi eich gwyneb i'r clawdd. Y mae yn ei blodau o fis Mai hyd fis Medi. Y mae y ddeilen hon o dan lywodraeth Mars, gellwch benderfynu hyny oddiwrth ei siarprwydd. Daliwch fanwl sylw nad yw y ddeilen hon i'w chymeryd mewn un modd yn dufewnol; os bydd unrhyw ddail a pherygl ynddynt, cewch eich rhybuddio yn fanwl wrth draethu am eu rhinweddau, ac os nad ewch yn ol y cyfarwyddyd, bydded y bai arnoch eich hunain. Ond ei defnydd yw i wneuthur eli neu enaint *(ointment;)* cymerwch y dail a'r blodau, a chnociwch a chymysgwch hwynt yn dda, a rhowch blastr o hono ar y cnap sydd o'r tu ol i'r gwddf i dynu yr *humour* o'r llygaid; neu rowch ef ar ryw le arall ag y b'o eisiau plistro; fe ddywedir ei fod yn hollol ddiberygl, ac yn blistring da ragorol, ac y mae yn werth ei gadw yn eli neu blastr yn y tŷ trwy'r flwyddyn; y mae hwn i'w gael yn rhad, ac fe ddywedir ei fod yn yn well na'r hwn sydd i'w gael am arian, ond pa un bynag y mae yn nes atoch: y mae un rhinwedd eto ar y ddeilen hon, sef ei bod yn dda ragorol i iachau y cryd-cymalau mewn aelod neu gymal, trwy gymeryd y dail a rhwbio y lle dolurus â hwynt, a hyny yn lled fyn-

ych, ond nid ei rwbio i'w blistro chwaith; gallwn feddwl mai yn y cryd-cymalau oer y mae yn dda, hyny yw, pan ag y b'o eisiau gwresogi y lle dolurus, am ei bod yn boeth yn ei natur; pe buasai y dolur yn wresog ac yn boeth yn ei natur, buasai yn rhaid cael dail oerion yn eu natur cyn y gallesid ei wellhau. Cewch eto eich cyfarwyddo yn hyn. Rhoddais yr hyn sydd yn angenrheidiol am dani, nid yw yn ateb dim dyben dreulio fy amser i ysgrifenu, a'ch amser chwithau i ddarllen, am yr hyn nad yw o ddim lleshad i ddyn nac i anifail.

---

### *Crane's-bill.*—Y GOES GOCH.

MAE ar y llysiau hyn amrywiol ddail lled grynion, mân, a bylchog, yn sefyll ar goes hirfain goch a blewog, yn gorwedd yn grwn ar y ddaear, ar ba rai y mae blodau o liw coch siriol, ac ar bob un o honynt bump o ddail mân; ar ol hyny y daw arnynt godau blaen-fain, y rhai sydd yn cynwys yr hadau; y maent yn tyfu mewn caeau porfa yn gyffredin a chydag ochrau y llwybrau, ac yn lled gyffredin i'w cael yn mysg carneddi o gerig a hen waliau, ac mewn gerddi yn gystal a llefydd ereill. Y maent yn blodeuo yn Mehefin, Gorphenhaf, ac Awst, weithiau yn gynarach ac weithiau yn fwy diweddar.

*Rhinwedd.*—Y mae y llysiau hyn o dan lywodraeth Mars; y maent wedi canfod trwy

brofiad eu bod yn rhagorol o dda i chwalu gwynt y colic, y grafel, a'r gareg; gellwch eu berwi mewn dwfr yn drwyth gref, a'i melysu a mêl, gan yfed yn gynhes lonaid cwpan dê o honi yn fynych yn erbyn y doluriau a enwyd; ac y maent mor effeithiol i chwalu gwynt y spleen, ac i'w gwellhau yn ei hamrywiol a'i gwahanol effeithiau; ac y mae y drwyth a wneir o honynt, trwy eu berwi mewn gwin, yn feddyginiaeth i'r rhai sydd wedi cael eu briwo oddi mewn; y maent yn helpu toddiad a chwaliad y tolchenau o waed sydd yn y rhan dufewnol, ac yn gwellhau y lle dolurus yn y rhanau anweledig o'r corph; gallant fod yn dda yn y doluriau hyn, ond pa un bynag, y maent yn hollol ddiberygl; ond cofiwch am danynt yn erbyn y grafel. Yn allanol.—Y maent yn iachau briwiau newydd, trwy gnocio y dail a'u rhoi arnynt, y maent yn eu hiachau yn fuan; fe ddywedir eu bod yn dda i'w berwi i olchi y cymalau a'r gewynau â hwynt pan ag y b'o poen ynddynt, ac fe ddywedir eu bod yn dda i'w hyfed i'r rhai sydd wedi tòri eu llen-gig, pa un bynag ai hen ai ieuangc fyddont, ond rhaid dal ato am hir amser.

---

## *Celandine.*—Llym y Llygaid.

Mae y dail hyn yn gyffredin i'w cael mewn gerddi yn y gwledydd hyn, (ond yn anaml yn tyfu yn wylltion,) neu mewn amrywiol fanau

yn agos i hen waliau a llefydd cysgodol, ac os plenir hwynt mewn gerddi nid hawdd eu diddymu oddi yno. Y maent yn blodeuo trwy yr haf.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth yr Haul, ac yn arwydd y Llew. Y maent yn un o'r dâil mwyaf rhinweddol at y llygaid o unrhyw ddail sydd yn tyfu, ond byddant yn fwy rhinweddol os heliwch hwynt pan ag y b'o yr Haul yn yr arwydd dywededig, cewch eich dysgu yn hyny wrth edrych i'r Almanac blynyddol; gwnewch hwynt yn eli i iro y llygadau, neu y ffordd oreu, yn fy marn i, ydyw eu cnocio a gwasgu eu sug, a'i gymysgu â mêl neu siwgr *double-refined*, a'i roddi ynddynt amrywiol weithiau yn y dydd. Gallaf brofi ei fod wedi iachau llygadau anghyffredinol o ddrwg, ac y mae yn llawer gwell na rhedeg y perygl o geisio eu hiachau â phethau rhy boethion, yr hyn, fe allai, yn lle eu gwellhau a'u dyfethant am eich oes!—gofalus iawn a ddylem fod o'n golwg naturiol, gan ochelyd pethau rhy boethion. Gwyddoch yn gyffredinol fod y dail hyn yn cael eu cyfrif yn rhagorol o dda i iachau y clwyf neu y clefyd melyn, ac os na wyddoch o'r blaen, cewch wybod yn awr; cymerwch y dail hyn ac ychydig hâd anis, gan eu berwi yn nghyd a'u melysu â thriagl, ac yfed yn fynych o honynt; hwy a'ch gwellhant nid yn unig o'r clefyd melyn, ond hefyd o ffaeledd yr iau a'r bustl: gallwn feddwl eu bod yn fwy effeithiol os berwch hwynt mewn gwin gwyn,—gall y

cyfoethogion ei gymeryd; ac yn wir y mae llawer yn ei gymeryd yn erbyn y dropsi: ac y maent yn cael eu cyfrif yn rhagorol o dda i yfed peth o'u sug yn y bore yn erbyn y pla, neu pan ag y b'o clefyd yn yr ardal; ond gall y dwfr a ddistilir oddi arnynt wneyd cystal a'u sug; ac yr wyf fi yn barnu y gwnaent gystal wedi eu berwi mewn dwfr a'u melysu â thriagl. Yn allanol. Pan ag y b'och yn iwsio eu sug at y llygadau, cofiwch gymysgu ychydig o laeth brest am ei ben rhag iddo losgi gormod; sylwch eto, rhowch blastr neu bowltis o'r dail ar frest merch pan ag y b'o y cyrsiau misol yn cerdded yn rhy helaeth, i'r dyben i'w harafu; ac y maent yn iachau hen friwiau crachlyd, y rhai sydd yn enill ac yn bwyta cnawd newydd, yn gyffelyb i ganer neu dan iddwf, a phob rhyw *bimples* ac anharddwch a f'o hyd y gwyneb; ond bydd yn well os toddwch gnap o alum ynddo, sef yn y sug, a golchi'r gwyneb y nos âg ef; a mynwch olchi y defaid a f'o ar y dwylaw âg ef; fe ddywedir y treuliant ac y darfyddant; maent yn dyweyd i mi, ac yr wyf finau yn dyweyd yr un peth i chwithau, ond heb ei gadarnhau, os cymerwch eu gwraidd a'u gwneyd yn lwch, a'i roddi ar ddant rhydd, neu ddant a phoen ynddo, y tyn efe ef i ffordd heb boen. Yn erbyn yr ymgrafu, cymerwch eu sug, a brwmstan wedi ei falu yn llwch, a'i iro âg ef yn y nos a'i gwellha; ac os bydd y croen yn dyner, yn cochi, ac yn dyfod yn ddolurus, golchwch y lle dolurus â finegr, a gwellha.

## *Marigold.*—GOLD MAIR.

Y MAENT yn adnabyddus yn yr holl wledydd, yn enwedig lle y mae gerddi yn cael eu trin; ac ar yr ochr arall, os trowch eich wynebau at y rhai gwylltion, y maent yn adnabyddus trwy yr holl wledydd lle y mae caeau ac ŷd yn tyfu ynddynt, o herwydd y mae eu rhinwedd yn lled debyg i'w gilydd, ond fod y rhai sydd yn y gerddi yn rhyw faint cryfach, ac ychydig bach o wahaniaeth yn y blodeuyn; y mae blodeuyn y rhai sydd yn tyfu yn y gerddi yn rhyw faint duach yn ei ganol. Y maent yn blodeuo trwy'r haf, ac yn aml yn y gauaf os bydd y tywydd yn dyner. Y dail hyn sydd yn tyfu o dan lywodraeth yr Haul, ac yn arwydd y Llew: er fod yr ymadrodd hwn yn ddyeithr i'r rhan fwyaf o'r gwledydd, yr wyf yn bwriadu eich dysgu cyn diweddu y gwaith hwn.

*Rhinwedd.*—Eu dyben yw cryfhau y galon, a hyny yn rhagorol o dda; dywedais o'r blaen eu bod o dan lywodraethiad yr Haul, a dywedaf eto fod yr Haul yn rheoli y galon, am hyny gallwn yn hawdd benderfynu eu bod yn cryfhau y galon, sef y lle mwyaf angenrheidiol i'w gryfhau ar ddyn, oherwydd pan ffaelio'r galon y mae yr holl *frame* ddynol yn ffaelu i gyd; am hyny dylech werthfawrogi pob llysieuyn sydd yn tueddu i gryfhau y galon wan a llesg. Nid wyf fi yn ei weled yn ddoethineb i adrodd

llawer am unrhyw fanau tufewnol ereill o'r corph, am fod yr hyn a ddywedais yn barod yn llawn ddigon i lysieuyn mor fychan a hwn wneyd, sef cryf hau'r galon; gellwch ferwi y blodau, ac os na chaniata yr amser ar y flwyddyn i gael y blodau, cymerwch y dail a berwch hwynt, a melyswch â rhyw beth cyfaddas, ac yfwch ddracht o hono amrywiol weithiau yn y dydd: ac yn allanol, eto mi a gadwaf fy ngolwg ar yr un marc ag o'r blaen, pan ag y b'o y galon yn rhy wan i gymeryd un dim yn dufewnol, cymerwch blastr o'r blodau gwedi eu sychu a'u powdro yn llwch, gan eu rhoi am ben ysdor, a thurpentine, a bloneg, yr hyn a'i gwna yn dymherus, a'i doddi ar dân araf, ond na adewch iddo ferwi ond ychydig ar ol rhoi y turpentine ynddo, ac felly gwnewch y plastr a rhowch ar bwll y galon i'w chryf hau mewn clefydau trymion, ac y mae yn gystal mewn gwendidau ac amrywiol ffaeleddau ereill a f'o yn blino y galon;—y mae y plastr hwn yn cael ei gyfrif yn rhagorol o dda i gryf hau y galon ac yn enwedig mewn clefyd.

---

## *Chick-weed.*—Llysiau y Dom, Gwlydd y Dom.

Y maent yn hollol adnabyddus i bawb o'r bron; y maent yn tyfu mewn llefydd llaith, ac mewn llefydd coediog, ac hyd y tomenydd; yn blodeuo o gylch mis Mehefin, ac yn hadu yn mis Gorphenhaf.

Defnyddiwn y dail hyn yn allanol. Y maent yn ddail rhywiog o dan lywodraeth y Lleuad, ac am hyny yn oer yn eu natur, fel ag y maent yn tueddu yn eu natur i'r blaned sydd yn eu rheoli; gwelwch fod pob deilen sydd o dan lywodraeth y Lleuad yn oer yn ei natur, a'r rhai sydd o dan lywodraeth yr Haul yn boethion yn ei natur, ac felly yn y blaen am y lleill. Gallwn benderfynu fod y dail hyn yn dra buddiol i'w defnyddio yn allanol ar ryw fan o'r corph neu yr aelodau, pan y b'o rhyw boethder, enynfa, a chochni yn y cnawd, i'r dyben i'w oeri; os bydd yr iau yn rhy boeth, ac eisieu ei oeri, cymerwch y dail hyn, a chnociwch a gwasgwch eu sug, gan wlychu cadachau ynddo, a phan y sychont adwlychwch o hyd; ac yn lle hwn gellwch gymeryd y dail a'u cnocio, a'u rhoi arno yn blastr, gan ei newid pan ag y gweloch angenrheidrwydd, y mae hyn yn rhinweddol ac yn dda ragorol yn mhoethder yr iau, ac hefyd yn mhob math o chwydd a chasgliad, yn enwedig os bydd gwres a phoethder yn ei ganlyn; ac y maent yn dda i dynu cochni a gwres o'r gwyneb, trwy ei olchi yn fynych â'u sug; ac y maent yn gwellhau y cylymau-gwythi a'r polsi, trwy eu golchi yn fynych â'r sug; ac y mae yn dda i'w ddyferu i'r llygaid pan ag y b'ont yn gochion ac yn wresog; ac hefyd i'w ddyferu i'r clustiau i dori y boen ynddynt; y maent yn dda i olchi y peils pan y b'ont yn tori allan yn boenus ac yn wresog, trwy wlychu cadachau yn eu sug a'u

dal wrth y lle dolurus; ac, yn wir, gellwch ei ddefnyddio at bob rhan o'r corph os bydd eisiau ei oeri. Gellwch ei ddefnyddio gyda llawer o lwyddiant i olchi rhanau dirgelaidd mab neu ferch pan y b'ont yn chwydd coch a dolurus; y maent yn dda i wellhau y gewyn; pan ag y byddo wedi cwtogi trwy y cylymau-gwythi; neu ryw achos arall, gwnewch y cynghor hwn:—cymerwch lonaid llaw o lysiau y dom, a llonaid llaw o ddail roses cochion, a'u berwi mewn chwart o ddwfr hyd nes y b'o ei chwarter wedi wastio, ac yna rhowch am ei ben beint o saim traed defaid, ac yna berwch drachefn am gwrs o amser, gan ei droi, a'i streinio, ac iro y lle dolurus âg ef o flaen y tân, a rhwymwch y dail arno, a gwnewch hyn yn fynych, ac efe, gyda bendith Duw, a'ch gwellha.

---

### *Earth Chesnuts.*—Cnau'r Ddaear.

Y mae y ddeilen fechan hon o dan lywodraeth Venus. Nis gallaf wneuthur araeth fawr ar ei defnyddioldeb, ond ei bod, yn enwedig yr hâd, yn rhagorol o dda rhag y grafel, sef i'r rhai sydd yn ffaelu a gwneuthur dwfr; ac y mae y gwraidd hefyd yn dda i'r un dyben, ond nid ydynt yn llawn mor effeithiol, eithr fe allai y gellir cael y gwraidd pan nas gellir cael yr had; ond hyn a ddywedaf am y gwraidd, gellwch eu sychu a'u malu, gan eu rhoi trwy ogr, a'u cymysgu â mêl a siwgr gwyn, a chymeryd

o hono hwyr a bore wrth eich rheswm i atal poeri gwaed, ac hefyd i atal gwneuthur dwfr gwaedlyd.

---

### *Chesnut Tree.*—COEDEN GNAU.

Y MAE hon yn goeden mor adnabyddus fel nad oes angen dyweyd dim am ei dull. Y mae y goeden hon o dan lywodraeth Jupiter, a chan ei bod o dan lywodraeth Jupiter y mae yn rhaid fod ei ffrwyth yn magu gwaed da yn y corph; ac y mae ffrwyth y goeden hon, sef y cnau, yn fwyd cryfhaol i'r corph, ond gwell ydyw peidio bwyta gormodedd o honynt, am eu bod yn teneuo y gwaed, yn codi dolur yn y pen, ac yn rhwymo yn ormodol; os cymerwch haner dram neu lai o'r croen sydd nesaf i'r cnewyllyn, rhwyma bob math o ryddni; ond y mae deg gronyn yn ddigon i blentyn i'r dyben i'w rwymo; yr holl gnewyllyn, a'i grasu a'i bowdro, a rhoi un dram o hono i ferch, mewn rhyw beth cyfaddas, hwyr a bore, sydd yn rhagorol o dda i atal y *terms*, sef y cyrsiau misol; os gwnewch sychu y cnewyllod, wedi tynu eu rhisgl i ffordd, a'u powdro a'u cymysgu mewn mêl, gan gymeryd peth o hono yn fynych, gwna les rhag pesychu a phoeri gwaed.

---

### *Wild Carrots.*—MORON GWYLLTION.

Y MAE y llysiau hyn yn tyfu mewn amrywiol fanau yn y gwledydd hyn, yn enwedig mewn

ochrau caeau a rhyw lefydd heb eu llafurio, ac yn aml hyd benau cloddiau. Y maent yn blodeuo ac yn hadu yn niwedd yr haf.

Y mae y Moron gwylltion o dan lywodraeth Mercury, ac am hyny y maent yn rhagorol o dda i chwalu gwynt, ac i symud a gwellhau y *stitches* o'r ystlysau, ac yn helpu y rhai sydd yn methu a gwneuthur dwfr ond fesur ychydig, a hyny trwy boen; a chan eu bod mor effeithiol at wneuthur dwfr, fe ddywedir eu bod yn help i dòri y gareg, ac i'w chwalu; ac y maent yn dda yn nechreu y dropsi,—gallwn feddwl hyn, yn enwedig os methu gwneuthur dwfr a fydd yr achos o hono; y maent yn dda i'r rhai ag y mae eu boliau yn chwyddo gan wynt, yn enwedig os bydd yn wynt y grafel. Yr wyf fi yn penderfynu mai yn yr hadau a'r topiau y mae y rhinwedd; gellwch eu hel hwynt pan eu caffoch, a'u cadw hyd nes y b'o eu heisiau, gan eu berwi mewn dwfr neu win, a'i yfed yn fynych yn y doluriau a enwyd.

---

## *Daisies.*—Llygad y Dydd.

Y MAE y dail hyn yn adnabyddus hyd yn nod i blant, am eu bod yn eu hel yn yr haf i wneuthur pwysïau, yn y caeau gwair a phorfa. Y mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Venus, ac yn arwydd y Crane.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn rhagorol o dda i iachau poen yn y brestiau, a dylent

gael eu cadw yn eich ymyl trwy'r flwyddyn wedi eu gwneyd yn *syrup*, yn oil, ac yn eli; sylwch fod dau fath o honynt, sef y rhai mawrion a'r rhai bychain, ac i'w cael yn gyffredin yn yr holl gaeau a'r gwledydd; y mae y rhai mawr yn ddail briwiau, neu o'r hyn lleiaf hwy a ddylent gael eu defnyddio mewn math o ddiod ddail sy'n cael ei gwneyd i iachau briwiau; y mae sug y dail hyn (pa un bynag ai y mawrion ai y bychain) yn gwellhau y frest, gan ei gwneyd yn dymherus oddiwrth y poethder, ac yn adnewyddu'r iau; yfwch drwyth y dail hyn i iachau briwiau yn y frest, sef yn y rhanau tufewnol; ac y mae eu sug yn iachau briwiau yn y genau, ac yn y rhanau dirgelaidd, trwy ei wneyd yn eli gydag ymenyn gwyrdd, ac iro y lle yn fynych âg ef; neu yn lle hyny rhoddwch y dail yn blastr ar y lle: powltis o honynt ar chwydd coch caled sydd yn ei wellhau; enaint neu eli a wneir o'r dail ac ymenyn gwyrdd, sydd yn dda i iachau briwiau, yn enwedig os bydd gwres a chochni o'u cwmpas.

---

## *Dock.*—Dail Tafol.

Y mae llawer math o'r rhai hyn, ond nis blinaf y darllenydd i ddyweyd am eu dull, am fod y llyfr yn myned yn rhy fawr cyn y gellir rhoi y pethau angenrheidiol ynddo; a'r achos arall yw, eu bod yn adnabyddus i bawb o'r bron. Y maent o dan lywodraeth Jupiter; er

dywedyd i chwi fod hon ac arall, ac felly yn y blaen, o dan lywodraeth rhyw blaned neu gilydd, yr wyf eto yn gweled eich bod yn y tywyllwch ar y pen hwnw, ond yr wyf ar feddwl, (er mwyn gwneuthur y llyfr yn fwy cyflawn) mewn un rhan o hono eich cyfarwyddo yn y natur hwn.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn glanhau ac yn puro y gwaed, y maent yn eu galw mewn rhai o'r ieithoedd wrth yr enw hwn, am eu bod yn gystal am buro y gwaed, Dail Gwaed y cânt eu galw yn aml; y maent yn cryfhau yr iau; gwelwch eto, mae yr iau yn ffynon y gwaed, sef yn lle ag y mae y gwaed yn magu ac yn tarddu, yna gwelwch fy mod yn dewis cadw at fy nhestyn. Y ffordd oreu yw cymeryd gwraidd y dail hyn pan b'o'r gwaed ag eisiau ei buro, a'r iau eisiau ei gryfhau a'i wellhau o'r afiechyd a f'o yn nglyn âg ef. Mae y rhai sydd yn y gerddi, a'r rhai sydd yn tyfu yn wylltion yn y caeau, o'r un rhinwedd, yn enwedig eu hadau, at attal rhyddni gwaedlyd o bob math, a helpu y rhai sydd yn poeri gwaed; y maent yn cryfhau y frest, yr ystumog, a'r iau. Nid oes dim perygl ynddynt. Gellwch ferwi y gwraidd ar ol eu crafu a'u golchi yn lân, a'u slisio neu eu malu ryw ffordd, a'u hyfed wrth eich rheswm, yn lled fynych; gellwch eu melysu â thriagl at buro'r gwaed; a berwi yr hadau, a'u melysu â siwgr gwyn, yn erbyn rhyddni a phoeri gwaed.

Yn allanol.—Y mae eu gwraidd wedi eu

berwi mewn gwinegr yn glanhau y croen oddiwrth pob anharddwch, sef ymgrafu a phob rhyw wres a f'o yn tòri trwy y croen, trwy olchi y croen â'r drwyth bob nos wrth fyned i'r gwely; gellwch yr un modd yfed trwyth o'r gwraidd wedi eu berwi mewn dwfr.

---

## *Cucumber.*

NID oes enw gwell arnynt; y maent i'w cael yn y gerddi wrth yr enw hwn. Nid oes dim amheuaeth nad o dan y Lleuad y maent yn tyfu, am eu bod yn eu natur yn oer yr un fath a hithau; y mae llawer o waeddi yn eu herbyn o achos eu hoerfel, a phe buasent ychydig o raddau yn oerach, buasent yn wenwyn,—fe fernir os bydd rhyw *fedicine* yn y bedwaredd gradd o oerni eu bod yn wenwyn, ond nid ydyw y dail yma wedi cyrhaedd fawr dros haner hyny. Y maent yn rhagorol o dda i'w bwyta pan y byddo yr ystumog a'r iau yn rhy wresog, ac o herwydd hyny wedi myned yn afiach; nid wyf fi ddim yn gweled rhinweddau tufewnol yn ychwaneg o werth eu hadrodd.

Yn allanol.—Y mae eu sug yn clirio y croen yn lân, yn tynu brychni a lliw haul oddiar y gwyneb, ac os bydd *pimples*, cymerwch hwynt a'u malu, a'u distilio, gan olchi y gwyneb yn fynych, ac efe a dyn y cochni, ac a iacha y gwyneb cocha a welwyd erioed.

### *Caraway.*

Hadau y rhai hyn ydynt i'w cael yn siopau y druggists; fe'u prynir yn gyffredinol i'w rhoddi mewn bara; y mae y dail hyn i'w cael mewn gerddi, ac os nad ellwch eu cael, y mae y rhan orcu, sef yr hadau, i'w cael yn y siopau dywededig; ac nid wyf fi yn hysbysu ond yn unig am eu hâd, o ran nad oes fawr werth ond yn eu hâd). Maent yn blodeuo yn Mehefin a Gorphenhaf, ac yn hadu yn fuan ar ol hyny. Y maent o dan lywodraeth Mercury. Gallaf ddyweyd eu rhinwedd mewn ychydig ciriau, sef i chwalu gwynt, neu mewn ffordd blaen i'w dòri, y rhai hyn a wna hyny gydag awdurdod, yn enwedig gwynt y grafel a'r gareg; y macnt yn bur dda ar les y cylla, ac yn ei gryfhau, gan chwalu y bwyd i gerdded yn well trwy y cylla; y mae y powdr a wneloch o'r hadau a'i rhoi mewn powltis yn tynu pob math o farciau a chleisiau oddiar y croen pa le bynag y b'ont, a pha beth bynag a fo'r achos o honynt; craswch yr hadau a rhoddwch hwynt mewn gwlaneu ddwbl yn gynhes ar waelod y bol i dòri y colic gwynt.

---

### *Cabbages.*

Dyma yr enw wrth ba un y macnt i'w cael; y maent yn tyfu yn y gerddi, ac ar werth yn y marchnadoedd trwy yr holl deyrnas, ac yn

gyffredinol yn eu blodau o gylch diwedd mis Gorphenhaf, a'u had yn aeddfed yn Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth y Lleuad. Y maent wedi eu berwi yn raddol mewn potes, a'u bwyta, yn agoryd y corph pan bo yn rhwym; ond fe ddywedir am yr ail drwyth a wneloch o honynt eu bod yn rhwymo y corph; dywedant fod sug y dail, trwy ei hyfed mewn gwin, yn iachau brathiad neidr, ond rhaid ei yfed yn fynych; a'r drwyth a wneloch o'r blodau yn dyfod a'r cyrsiau misol i lawr pan y b'ont wedi ystopio; a chymeryd eu sug gyda mêl sydd yn dda i iachau crygni ar y rhai sydd yn methu a siarad yn dda o herwydd hyny: y maert yn dda i'w bwyta yn aml i'r rhai sydd a'r *decay* yn dechreu arnynt, ond rhaid eu berwi yn dda a'u bwyta yn fynych. Fe ddywedir os berwch hen geiliog yn y potes a fo i'w yfed, hyny yw, yn y potes hefo y dail, ei fod yn dda yn erbyn holl ddoluryr iau a'r spleen: y maent yn dda i'w bwyta cyn dechreu yfed gwin i'ch cadw rhag meddwi, ac os bwytewch hwynt ar ol meddwi hwy a'ch sobran tyn fuan os gwir yw y chwedl—gall rhai meddwon eu treio, ac yna gallant ateb drostynt yn well na myfi; a dywedant fod y fath elyniaeth rhwng y winwydden a'r *cabbage*, fel ag y bydd un o honynt farw lle y tyf ac y cynydda'r llall.

Yn allanol, y mae sug y dail trwy ei ferwi mewn mêl, a'i ddyferu i gonglau y llygaid yn eu clirio oddiwrth ryw niwl a thywyllwch a

f'o yn eu blino; ac y mae eu trwyth yn tynu poen o'r coesau, ac yn gostwng chwydd yn y gliniau, wrth eu golchi âg ef yn gynhes; y mae yn helpu hen friwiau wrth eu golchi âg ef, ac yn sychu pob math o grach. Sylwch eu bod yn rhyfeddol o wyntog, pa un bynag ai eu cymeryd yn fwyd ai yn phisyg y byddoch.

Am *gabbage* y môr, y rhai sydd yn tyfu hyd y morfeydd, nid oes ond ychydig o wahaniaeth rhyngddynt, ond fod y rhai gwylltion yn gryfach, a bod eu had yn lladd y llyngyr wrth eu hyfed.

---

## *Devil's Bit.*—Cas gan Gythraul.

Fe ddywedir fod tri math o honynt, y rhai sydd debyg i'w gilydd yn mhob peth ond y blodau. Y maent yn tyfu o gylch dwy droedfedd o uchder, ac amrywiol o ddail lled feinion a llyfnion, a rhyw beth yn fylchog o'u hamgylch, ac nid yn ymranu, o liw gwyrdd tywyll; ac ar ben pob cangen y mae cnap crwn yn llawn o flodau, o liw glas siriol, a rhai o honynt yn tueddu i fod yn fwy gwyn. Yr oedd eu gwraidd yn hirion meddynt hwy, cyn i'r cythraul ddyfod heibio, a thori tamaid o honynt er dirmyg i ddynolryw, rhag iddynt gael iachâd trwyddynt hwy. Y maent yn tyfu mewn gweirgloddiau sychion a gwlybion, sef y rhai a'r blodau gleision, ond y mae y rhai ereill yn fwy anhawdd i'w cael yn y gwledydd

hyn; nid ydynt yn blodeuo yn gyffredin tan Awst.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn o dan lywodraeth Venus; y mae y dail, y gwraidd, ac oll a adawodd y cythraul ar ei ol o honynt yu hollol ddiniwaid: y mae y dail neu y blodau yn dda i'w berwi mewn gwin, a'u hyfed, yn erbyn y pla a phob rhyw afiechyd yn yr awyr, ac yn erbyn y clefydau, y rhai sydd yn aml yn tarddu oddiwrth afiechyd yn yr awyr; ac y maent yn meddyginiaethu y rhai sydd wedi cael gwenwyn, ac hefyd yn iachau brathiadau rhyw greaduriaid gwenwynig, naill ai anifeiliaid neu fwystfilod, neu ryw ymlusgiaid o ba ryw bynag y b'ont; y maent yn rhagorol o dda i'w hyfed i'r rhai sydd wedi cael eu briwo oddimewn trwy ryw ddamweiniau neu godymau, am eu bod yn toddi ac yn chwalu y gwaed a f'o gwedi tolchenu oddimewn i'r corph; ac y mae y dail hyn yn enwog ac yn rhagorol o dda yn y dolur hwnw a elwir y manwynau, trwy fynych yfed eu trwyth; ac os bydd y dolur yn y gwddf, rhoddwch i mewn beth o hono, a golchwch y gwddf oddi mewn yn fynych: y mae un rhinwedd da eto yn perthyn iddynt, sef y gwraidd, a chymerwch a phowdrwch hwynt, gan gymeryd llonaid llwy dê o'r powdr bob bore ar gwrw i ladd y llyngyr yn y bol; y mae eu sug yn iachau briwiau newydd wrth eu golchi âg ef; y mae eu had yn dda i olchi y croen i'w harddu a'i lanhau.

*Eringo or Sea Holly.*—CELYN Y MÔR.

Y MAE dau fath o honynt, ond y mae eu rhinwedd yr un fath; nid ydyw y dail sydd arnynt yn eu dechreuad yn galed nac yn bigog hyd nes elont yn hen; y maent agos yn grynion, wedi eu bylchu yn drwm o gylch eu hymylau, ac yn lled feinion at eu blaenau, o liw gwyrdd-las; pob un o honynt yn tyfu ar goes o gylch troedfedd o hyd, ac ar y blodau yn gyffredin y bydd lliw glas, ac weithiau lliw gwyn, ac yn tynu at wyrdd yn aml; y mae eu gwraidd yn gyffredin yn tyfu yn hirion hynod, weithiau oddeutu wyth neu ddeg troedfedd o hyd, yn fodrwyau yn y tywod, ac yn tòri yn llyfn ac heb gymalau, a'r ochr allanol i'r gwreiddyn yn lliw gwineu neu redwd, ac oddi mewn yn lliw gwỳn, ac yn ei ganol fwydion meddal melys, o flas da; y mae y dail hyn i'w cael yn mhob lle o'r bron a fo'n terfynu ar y môr. Y maent yn blodeuo yn niwedd yr haf, ac yn hadu yn mhen y mis ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn o dan lywodraeth Venus, ac yn arwydd y Fantol; y maent yn gweithio yn llwyddiannus ar y rhanau hyny o'r corph ag y mae y blaned hòno yn eu rheoli, ac y maent yn ychwanegu yr had naturiol, sef y natur ddynol yn y corph; gallwn farnu hyn yn dda pan y b'o y corph wedi myned i ormodedd o wendid, a gallwn benderfynu eu bod yn gweithio yn y llwybr hwn o dan awdurdod Venus, o ran mai dyna ei hyfrydwch hi

hefo dynoliaeth; mae y dail hyn yn boeth ac yn llaith yn eu natur, yr hyn sydd yn cadarnhau yr hyn a ddywedwyd yn barod. Fe ddywedir eu bod yn dda, sef y gwraidd wedi eu berwi mewn gwin a'u melysu â siwgr, i'w hyfed, i agoryd atalfeydd y spleen; gwelwn fod y gwraidd yn gweithio yn effeithiol ar y rhanau hyny o'r corph, sef o gylch y lwynau, gwaelod y bol, a'r chwysigen ddwfr; a cheisiaf finau gadw yn agos at fy nhestyn gan beidio a chrwydro ar hyd amrywiol ranau o'r corph, yr hyn nis gallwn feddwl gyda rheswm y gall yr un ddeilen ei wneuthur; ond i brysuro yn mlaen, y maent yn rhagorol o dda yn nechreuad y dropsi, i ostwng chwydd yn y bol, ac i dòri poen yn y mein-gefn a'r lwynau, ac yn chwalu gwynt o'r bol, ac yn tòri colic y grafel a'r gareg; y maent yn helpu rhai i wneuthur dwfr pan ag y b'ont yn methu a'i wneuthur, ac fe ddywedir yr ymadewir a'r ceryg wrth eu hyfed; ac os cymerir i'w yfed beth o'r drwyth wedi ei berwi a'i melysu â siwgr, a'i hyfed yn y bore a'r nos wrth fyned i'r gwely, a hyny am bymtheg niwrnod nesaf i'w gilydd, dywedir ei bod yn rhyfeddol o dda i wellhau y rhai sydd yn cael eu mynych flino gan boen wrth wneuthur dwfr, ac yn ei wneuthur bob yn ddyferyn a hyny trwy ddirfawr boen; ac os delir at y ddiod yn hwy, fe ddywedir a hyny sydd wir, ei bod yn gwellhau y *French pox*.

Yn allanol, y mae eu gwraidd wedi eu cnocio a'u rhoi ar y chwarenau o gylch y gwddf,

yn gwellhau yr hyn a elwir yn gyffredin yn fanwynau; a'u rhoi yn allanol ar frathiad neidr, ac yfed y drwyth yr un pryd, sydd yn iachau yn fuan; os bydd esgyrn mewn briwiau, neu ddrain neu ryw beth arall yn y cnawd, ac eisiau eu codi allan, rhoddwch blastr o'r gwraidd arnynt, yr hyn nid yn unig a'u cyfyd allan, ond hefyd fe a iachâ y briwiau ar ol eu codi allan, gan dyfu cnawd newydd lle y b'o eisiau. Gellwch eu hel, eu crafu, eu golchi, a'u berwi, mewn dwfr neu win, ac yfed yn fynych o hono wrth eich rheswm, yn erbyn y doluriau a enwyd; ac fe ddywedir y gellir ei yfed yn llwyddiannus yn erbyn melancoli y galon; ac y maent yn dywedyd i mi eu bod yn iachau y rhai sydd a'u gyddfau wedi eu tỳnu o'r naill du fel na fedrant droi eu pen heb droi eu holl gorph; gellwch dreio y cynghor hwn os byddwch yn dewis.

---

## *Fox-gloves.*—Menyg y Llwynog, Dail Bysedd Cochion.

Fel ag y mae pob rhan o'r ddeilen hon â blas annymunol arni, ond yr olwg (fel ag yr oedd ffrwyth y pren gwaharddedig) yn deg i'r llygaid, am hyny dylid bod yn ofalus i'w cadw oddiwrth blant, neu blant oddiwrthynt hwy. Y maent yn ddail llydain, yn gorwedd yn agos i'r ddaear, o liw gwyrdd lled flewog; nid oes angenrheidrwydd dyweyd am eu dull, am fod

pob plentyn yn eu hadnabod; y maent yn tyfu yn gyffredin trwy yr holl wledydd, mewn ochrau cloddiau, ffosydd, baneiau tywodlyd, ac amryw fanau o'r cyffelyb; nid yn aml y maent yn blodeuo cyn mis Gorphenhaf, ac yn hadu yn Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Venus; nid wyf fi ddim am eu cymhell yn dufewnol, ond yn allanol, pe bawn yn cymhell y cwbl yn dufewnol ni byddai i mi ranu yr ymrafael; nid wyf yn rhydd i'w cymhell yn dufewnol i bobl y wlad yn gyffredinol, oddieithr iddynt eu cael gan ryw feddygwr cyfarwydd wrth bwysau a mesur, o achos llawer o niwaid mawr a wnaeth amryw o bobl anghyfarwydd y wlad iddynt eu hunain, o achos eu bod yn fyr o ddeall eu hunain, ac yn cymeryd eu camgynghori gan ereill, llawer a gollodd eu bywyd yn yr achos hwn; ond yr wyf fi yn cyfaddef mai llawer o ddaioni a ellir ei wneuthur hefo y dail hyn trwy ddwylaw y meddygon cyfarwydd, sef gweithio y corph i fyny ac i lawr, i ostwng chwydd yn y dropsi, ac amrywiol bethau cyffelyb. Ond rhoddaf eu rhinwedd yn allanol:—Y mae yr Italiaid yn fynych yn eu defnyddio at iachau briwiau, trwy rwymo y dail ar y briw, ac yn cymeryd eu sug i iachau hen friwiau, sef i'w glanhau, eu sychu, a'u tyfu neu eu croeni; ac y maent wedi eu canfod allan yn ddiweddar yn rhagorol o dda i iachau clwy'r brenin, neu'r manwynau, trwy eu cnocio a'u rhoi ar y lle; ond y ffordd oreu ydyw eu

cnocio a'u berwi mewn dwfr, ac ar ol iddynt ferwi yn dda tewychwch â blawd ceirch a rhyw iraid heb halen ynddo, gan ei roi ar y lle dolurus, a'i newid bob dydd hyd nes y b'o yn iach; ac y mae hwn hefyd yn bowltis da ar chwydd coch afrywiog, ac hefyd yn dda i sugno pob math o gornwydydd ar ol iddynt dòri,—hyn a dreiais i fy hun ugeiniau o weithiau, a hyny gyda llawer o lwyddiant: ac yn ddiweddaf mi a ddywedaf nad oes gwell deilen yn tyfu na dail bysedd cochion i wneuthur eli i iachau crach mewn penau plant, cnociwch y dail a berwch mewn menyn gwyrdd hyd nes y b'ont wedi crebychu, ac yna streiniwch trwy liain, ac irwch y crach neu y pen dolurus âg ef: gwelwch fod y dail hyn yn cynwys llawer o rinweddau allanol heb eu cyffwrdd at ddoluriau tufewnol, er mor ddistadl a diystyr ydynt yn eich plith; ac os ewch yn mlaen yn ol y rheol hon, gellwch wneuthur llawer o leshâd i chwi eich hunain ond os na chymerwch eich dysgu, ond myned yn mlaen yn ol eich tyb eich hunain, a hono yn annigonol, a thrwy hyny wneyd niwaid i chwi eich hunain, bydded y bai arnoch eich hunain, a glân a fyddaf finau oddiwrth bawb oll.

---

## *Fumitory.*—Mŵg y Ddaear.

Ei lliw ydyw gwyn-las, neu wyrdd tebyg i liw'r môr, a'r blodeuyn yn wỳn, a'i gwraidd yn felyn, yn tyfu yn y caeau ŷd, ac yn gy-

ffredin mewn gerddi: hefyd y mae yn blodeuo yn mis Mai, a'i hâd yn aeddfed yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Y mae y ddeilen hon yn tyfu o dan lywodraeth y blaned Sadwrn, ac y mae Sadwrn yn ei chymell hi yn feddyginiaeth addas i iachau yr holl ddoluriau pa rai ag y mae hi yn rheoli arnynt. Cymerwch sug y dail wedi ei ferwi yn nghyda siwgr gwŷn, a'i yfed yn fynych, neu gymerwch y dail a berwch hwynt mewn dwfr, a melyswch â thriagl, a rhoddwch ychydig o *cream of tartar* ynddo, ac yfwch ddracht o hono hwyr a bore i buro y gwaed, i weithio yr afiechyd i ffordd yr hwn sydd yn magu yn y corph, ac i agoryd attalfeydd yr iau a'r spleen; y mae yn glanhau y corph oddiwrth yr amrywiol humours hallt, yr hyn sydd yn magu afiechyd yn y corph, ac anmhurdeb yn y gwaed, yr hyn hefyd sydd yn ddechreuol achos o fagu y gwahan-glwyf, yr ymgrafu a chosfa yn y croen, y crach, a phob rhyw doriadau allan yn y croen, ac ar ol purgio i weithio allan yr afiechyd, y maent yn cryfhau y rhanau tufewnol yn rhagorol o dda; yn gwellhau y clefyd melyn, ac yn ei weithio allan wrth fynych wneuthur dwfr, ac felly yn clirio y corph o hono. Y mae powdr a wneir o'r dail wedi eu sychu, eu malu, a'u gogryn, a'i gymeryd yn fynych mewn rhyw beth cyfaddas, yn iachau y melancoli: ond os eeir yr hadau, y maent yn gryfach at y doluriau a enwyd; ac fe ddywedir ei fod yn dda i'w yfed yn erbyn

y pla, ond rhoi digon o driagl ynddo: y mae yn iachau y genau a'r gwddf trwy eu golchi âg ef wedi ei gymysgu â mêl; eu sug sydd yn dda i'w ddyferu i'r llygaid i'w clirio ac i dynu ymaith y cochni: ac y mae yr awdwr wedi dywedyd ei fod yn rhwystro i flew ceimion dyfu ar amrantau y llygaid ar ol eu tynu, trwy olchi yr amrantau âg ef. Y mae eu sug hefyd wedi ei gymysgu â finegr, a golchi y crach âg ef, neu roi cadachau gwlybion o'r drwyth arnynt, a'u newid yn lled aml, yn eu hiachau oddiwrth y gwyneb neu y dwylaw, neu pa le bynag y byddont ar y corph.

---

*Gladwin.*—EITHIN YR IEIR.

Y MAENT yn tyfu yn amrywiol ddail oddiwrth y gwreiddyn, yn dewach yn y canol nag yn yr ymylau, ac yn feinion at y blaen; aroglant yn gryf os rhwbiwch hwynt rhwng eich bysedd. Y maent yn tyfu mewn tiroedd uchel ac isel, ac mewn llcoedd lleithion a chysgodol, ac yn hoffi tyfu yn agos i lan y môr, ac weithiau yn cael eu trin a'u cadw mewn gerddi: y maent yn blodeuo yn mis Gorphenhaf, ac yn hadu yn Awst a Medi.

*Rhinwedd.*—Y mae'r gwraidd yn cael eu defnyddio gan bobl y wlad i burgio y corph, at amrywiol a gwahanol afiechyd. y mae rhai yn eu tafellu a'u rhoi yn ngwlych mewn cwrw, a'i yfed; ond y mae y dail yn ateb yn well

i'r ystumog wan. Mae eu sug yn dda i snuffio i fyny i'r ffroenau i dŷnu dwfr o'r pen, i beri tisian, ac i agoryd y pen. Yfed y powdr mewn gwin sydd yn dda yn erbyn y cylymau gwythi a'r confylsiwn: y mae yn rhinweddol i'w yfed wedi ei felysu â siwgr gwŷn, i rwymo y corph pan ag y byddo yn rhy rydd: haner dram o'r hadau wedi eu malu a'u cymeryd mewn gwin sydd yn dda i wneuthur dwfr mewn prysurdeb; a chymeryd yr un faint o'r hadau mewn finegr sydd yn meddalhau ac yn gostwng chwydd y spleen. Y mae y gwraidd wedi eu powdro yn dda i iachau hen friwiau, ac i dŷnu allan splinters coed, neu ddrain, neu ryw beth a ddichon fyned i'r cnawd; ac hefyd i godi esgyrn rhyddion allan o friwiau: ac os berwch y dail, neu y gwraidd, mewn finegr, a'u rhoi yn blastr ar ryw gasgliad a f'o yn y cnawd, fe'i chwal yn fuan, ïe, hyd yn nod y chwarenau o amgylch y gwddf, y rhai a elwir yn gyffredin clwyf y brenin; ac y mae sug y dail yn gwellhau yr ymgrafu, a phob rhyw wrês a chosfa a thoriadau allan yn y croen, pa beth bynag a all fod yr achos o hono.

---

## *Golden Rod.*—Y WIALEN AUR.

MAE y dail hyn yn hawdd eu cael, maent yn tyfu mewn lleoedd agored a choediog, yn gyffredin trwy yr holl wledydd, ac yn blodeuo yn mis Gorphenhaf.

*Rhinwedd*—Maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus. Mae llawer yn adnabyddus â'r dail hyn, ac yn gwybod peth am eu rhinwedd at y grafel a'r gareg, yn yr hyn y maent yn dra rhinweddol. Gallwn farnu, os arferwch eich hunain i yfed dwfr wedi berwi y dail hyn ynddo, a'i felysu â mêl, y ceidw y corph yn lân oddiwrth y gareg a'r grafel, hyny yw, ei gadw rhag eu magu; ac os cedwch y gareg rhag magu, nid rhaid i chwi wrth ddim i'w thoddi nac i'w chwalu, a thrwy hyny gellwch ochelyd llawer o boen, ac fe allai achub y bywyd; oblegyd y mae y rhan fwyaf o ddynolryw yn cael eu blino gan y grafel a'r gareg, a channoedd yn colli eu bywyd o'u herwydd: ond llawer o'r cyffelyb beth a ellir ei ochelyd trwy chwilio y llyfr hwn yn fanwl, a chymeryd rhyw beth a weloch fwyaf cyfaddas i'ch dolur, a gwneyd hyny yn fuan cyn i'r dolur wreiddio gormod. Mae y dail hyn yn iachau pob math o ryddni; berwch hwynt yn drwyth gref, a melyswch â siwgr gwyn, ac yfwch yn lled helaeth o hono; a'i yfed yr un modd i iachau y clwyf gwaed; a'r merched i'w yfed i attal y cyrsiau misol, os byddant yn rhy helaeth; ac y mae yn iachau pob math o friwiau oddi mewn i'r corph trwy ei yfed: y mae hefyd yn gwellhau y rhai sydd wedi briwo eu llengig; ac yn wir fe ddywedir eu bod yn gwellhau pob math o ysigdod, codymau, ac unrhyw ddamweiniau pa rai sydd dueddol i boeni y rhanau tufewnol ac anweledig o'r corph. Fe ddywedir

hefyd nad ydyw y dail hyn ddim llai eu heffaith mewn briwiau allanol, am eu bod yn cael eu cyfrif yn rhai o'r dail goreu sydd yn tyfu i iachau briwiau. Y mae hen friwiau a hen dyllau drewedig, a briwiau newydd, yn cael eu hiachau yn brysur trwy yfed trwyth y dail hyn: a phe cymerech y sug i olchi y briwiau yr amser y byddoch yn yfed eu trwyth, ni wnaech ddim allan o le: ac os byddwch yn cael eich blino gan goesau briwedig, neu ryw afiechyd arall, megys ag yr enwyd uchod, gwnewch ddiod o'r dail hyn, ac yfwch ef fel ag y dysgais chwi yn barod, nid oes eisiau mo'u gwell. Sylwch, os byddwch yn ei chymeryd i attal rhyddni, neu y clwyf gwaed, melyswch â siwgr gwyn; ac os i buro y gwaed ac i iachau briwiau, melyswch â thriagl; ac at y grafel, melyswch â mêl. Y mae trwyth gref o'r dail wedi ei melysu â mêl, a golchi y genau a'r gwddf â hi, yn eu hiachau, ac yn gwneyd y dannedd, pan y b'ont yn rhyddion, yn dynion yn y *gums*.

---

## *Cowslip.*—Briallu.

Mae y dail hyn mor adnabyddus fel ag y gellir hebgor y drafferth i mi i ysgrifenu am eu dull, ac i chwithau dreulio eich amser i ddarllen am danynt.

*Rhinwedd.*—Venus sydd yn llywodraethu y dail hyn, yn arwydd yr Hwrdd. Y mae ieu-

engetyd y wlad, a'r trefydd yn enwedig, yn gwybod eu bod yn dra rhinweddol i gynnal i fyny harddwch, sef prydferthwch y cnawd; ac nid yn unig hyny, ond hefyd i'w ddychwelyd yn ol pan y byddo wedi colli; ychydig o ddirgelwch y Venus yw hyn, am ei bod yn caru harddwch yn fawr mewn dynoliaeth. Y ffordd i'w defnyddio ydyw cymeryd y blodau a'u berwi mewn ymenyn heb halen, neu floneg glân wedi ei doddi, a chnocio y blodau a'u berwi ynddo nes y b'ont wedi crebychu, ac yna straeniwch trwy liain glân, a chedwch mewn blwch yn enaint gwerthfawr i iro y gwyneb âg ef: gellwch ei ddefnyddio bob nos i harddu y gwyneb ac i dynu ymaith y brychni a'r lliw haul, ac amrywiol bethau o'r cyffelyb, sef crybychni, a phob rhyw spotiau a marciau a fyddo yn anharddu y croen; ïe, fe ddywedir ei fod yn anghydmarol o dda i gynal i fyny brydferthwch: bernir y blodau yn well na'r dail, ac hefyd y mae ffordd arall i'w trin os byddwch yn dewis, sef eu distilio, ac ymolchi â'r dwfr a ddaw oddiwrthynt: ac nid wyf yn ameu dim nas gall eu sug wneuthur yn llawn cystal neu well nag yr un o honynt. Fe allai y barna rhai hyn yn bechod; ond os gwnant, y maent yn camfarnu: gwybyddwch i Dduw ar y cyntaf greu dyn ar ei lun a'i ddelw hardd ei hun, oll yn hawddgar, yn rhagori ar yr holl greaduriaid a greodd efe: a'r hyn sydd wedi myned yn anhardd o'r corph dynol, pechod yw yr achos o hono, ac argraff

a adawodd y pechod o anufudd-dod ydyw; ac nis gallaf fi farnu yn bechod i lanhau ac i harddu y corph, ac i dỳnu ymaith yr hyn a adawodd pechod ar ei ol; barnaf yn llawer mwy o bechod adael y corph yn llawn o fudreddi ac anharddwch, yr hyn sydd yn taflu diystyrwch ar yr Hwn a'i gwnaeth, sef y Creawdwr gogoneddus.

Y mae amryw yn cymeryd y dail hyn yn dufewnol; ond am fod cymaint yn y llyfr hwn o rai da at ddoluriau tufewnol, galiwn adael y rhai hyn yn llonydd.

---

## *Garlick.*—GARLLEG.

FE wnaiff yr arogl drewllyd ac annymunol a fo wedi eu bwyta, eich tywys gerfydd eich trwyn i wybodaeth o honynt, ac i attal llafur i minau i ysgrifenu ar eu dull, am eu bod yn tyfu yn y gerddi, ac yn hawdd i'w cael, sef y rhai sydd yn ddefnyddiol mewn phisygwriaeth.

*Rhinwedd.*—Maent yn tyfu o dan lywodraeth Mars. Cymerwch eu dail yn lled gynil yn dufewnol, am fod yn eu natur godi i'r pen a dyrysu yr ymenydd; ond gellwch wneyd mor hŷf ag y mynoch gyda hwy yn allanol. Gellwch eu cnocio a'u rhoi rhwng dau blyg o wlanen ar fogail plentyn i ladd y llyngyr: y mae hyn ei hun yn weith ei ysgrifenu am y dail; ond y mae rhinwedd arall ynddynt, os byddwch wedi bwyta neu yfed unrhyw beth wenwynllyd,

neu ddrewllyd, a ffieiddio eich hunain, neu yfed neu fwyta cegid, neu ryw ddail gwenwynllyd ereill, gellwch yn llwyddiannus gymeryd garlleg yn dufewnol, naill ai yn oer, nen wedi eu berwi, ac yfed eu trwyth; ond rhaid gwneyd hyny yn fynych.

Yn allanol y maent yn dda i'w rhoi yn blastr ar ryw ddolur a fo ag eisiau ei dòri yn fuan; ond gall wynwyn wneuthur y tro yn eu lle yn yr achos hwn. Y mae llawer yn eu bwyta yn y bore mewn amser afiach, ac wrth ymweled â'r cleifion; ac yr wyf fi'n barnu eu bod yn dda, ond eu cymeryd yn gymedrol.

---

## *Water Fern.*—Rhedyn y Dwfr.

Nid oes eisiau dywedyd dim am eu dull, gan eu bod yn adnabyddus ac yn hawdd i'w cael mewn ffosydd gwlybion a'r corsydd, ac amrywiol lefydd o'r cyffelyb, trwy y gwledydd. Y maent i'w cael yn leision trwy yr haf, ond y gwraidd sydd yn unig yn aros yn y gauaf; y maent yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn: a pha beth bynag a ddywedais am rinwedd y lleill, y rhai hyn a'i gwna yn fwy cyflawn wrth eu defnyddio yr un modd, ond fod rhai rhinweddau yn ychwanegol yn y rhai hyn; sef, eu bod yn dda rhag y grafel, trwy eu berwi mewn gwin gwyn, a'u hyfed; ac y maent yn glanhau chwysigen, ac yn foddion rhinweddol i wneuthur dwfr yn helaethach i'r rhai sydd yn ei wneuthur

yn rhy brin: ac yn mhellach, fe ddywedir fod gwraidd y rhai hyn wedi eu berwi mewn dwfr, a'u melysu â siwgr gwyn, yn dda i'r rhai sydd wedi briwo oddi mewn, sef tòri eu llen-gig; a hefyd i gryfhau esgyrn pan y byddont wedi tòri, dywedir eu bod yn foddion iddynt asio yn gynt, ae hefyd yn cryfhau y cymalau pan y byddont yn weiniaid.

---

## *Ivy.*—Eiddew

Y mae y dail hyn yn hollol adnabyddus; y maent yn tyfu ar gonglau tai a hen waliau, ac ar goed, ac weithiau arnynt eu hunain. Y maent yn blodeuo yn mis Gorphenhaf, ac yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn.

*Rhinwedd.*—Y mae un awdwr enwog wedi cadarnhau fod un dram o'r blodau wedi ei ferwi mewn gwin coch, a'i yfed, yn effeithiol i attal rhyddni a'r elwyf gwaed—gallwn farnu y byddai yn well wedi ei felysu â siwgr gwyn: y maent yn elynol i'r gewynau a'r *nerves* wrth eu cymeryd yn helaeth yn dufewnol, ond yn eu helpu yn fawr wrth eu golchi gyda'r drwyth yn allanol; os gwir ydyw y chwedl, y mae y cnapiau neu y grawn, sef y *berries*, yn cadw rhag y pla, ac nid yn unig hyny, ond hefyd yn iachau y rhai sydd wedi ei gael; ac os gwir yw hyn, y maent yn werthfawr, am eu bod yn iachau y claf ac yn cadw'r iach rhag clwyfo; ond pa un bynag am hyny, y maent yn werth-

fawr i'r meddwon, sef y rhai sydd yn arferol o feddwi ar win, os cymerant o'u trwyth neu eu sug cyn dechreu yfed hi a'u ceidw rhag meddwi, ac hefyd yn eu sobri pan ag y b'ont wedi meddwi; ac yn helpu y rhai sydd yn poeri eu gwaed: os byddwch yn cael eich blino gan y spleen, cymerwch y dail tra b'ont yn leision a thyner, berwch hwynt mewn finegr, a rhoddwch yn blastr ar y lle dolurus: ac os berwch y dail yn newydd mewn gwin, gan olchi hen friwiau sydd yn anhawdd eu hiachau, efe a fydd yn help mawr iddynt; y maent yn iachau briwiau newydd gyda phrysurdeb, ac hefyd losg tân a'r rhai f'o wedi ysgaldio: mae sug y dail hyn yn dda i'w snuffio i'r ffroenau i dynu yr humour ddyfrllyd o'r pen a'r ymenydd, yr hyn sydd yn achos i'r llygaid ddyfrio; a'i dyferu i'r clustiau sydd yn eu helpu ac yn attal iddynt redeg; fe ddywedir fod yn bur dda i'r rhai sydd yn cael eu blino gan y spleen arferyd eu hunain i yfed diod yn gyffredin o gwpan wedi ei gwneuthur o bren eiddew, ond fod yn rhaid iddi sefyll ynddi am ychydig o amser cyn ei hyfed; fe ddywedir, os rhoir gwin mewn cwpan a f'o wedi ei gwneuthur o hono yr â efe trwyddi yn fuan, hyny yw, y treiddia y gwin trwy y pren, a hyny sydd o herwydd y croesineb sydd rhwng y ddwy natur a'u gilydd; os caiff rhyw rai surffeit wrth yfed gwin, y feddyginiaeth brysuraf a gânt yw yfed dracht o win drachefn, wedi berwi ynddo lonaid llaw o ddail eiddew, ond rhaid eu cnocio i wneyd y drwyth yn gref.

## *Juniper.*

Nid oes enw mwy adnabyddus i'w gael arnynt na hwn yn y siopau sydd yn gwerthu cyffuriau, sef siopau y druggist, ac am fod y rhan oreu o honynt i'w cael yno, nid â neb i'r boen neu'r drafferth i chwilio am danynt hyd y caeau.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth yr Haul. Fe fernir eu bod mor rinweddol yn erbyn y pla ag un ddeilen sydd yn tyfu, ond anaml y mae y doluriau hyn yn ein gwlad; eithr mi ddeuaf a'u rhinweddau yn nes atom, y maent yn gyfrifol iawn i'w hyfed i'r rhai sydd wedi cael eu brathu gan ryw beth gwenwynig; ond eu rhinwedd yn fwyaf neillduol sydd yn erbyn y grafel, trwy helpu y rhai sy'n methu gwneuthur dwfr, i chwalu y gwynt, ac i ostwng chwydd yn y corph; dywedir eu bod yn gostwng chwydd yn y dropsi, ond mi a feddyliwn fod yn rhaid eu cymeryd yn nechreuad y dolur cyn y gwnant fawr o les; nid oes dim gwell i'w gael na'r dail hyn i chwalu gwynt o bob rhan o'r corph. Y mae pobl y wlad yn bwyta deg neu ddeuddeg o'r grawn neu'r *berries* yn y bore cyn bwyta, y maent yn rhagorol o dda rhag y pesychu, y diffyg anadl, a'r confylsiwn; y maent yn cryfhau yr holl gorph a'r aelodau; ac fe ddywedir eu bod yn lladd y llyngyr ar blant, ac nid wyf fi ddim yn ameu llai na wnant hyny.

## *Mint.*—Mintys.

Y mae y dail hyn yn tyfu yn y gerddi, ac yn adnabyddus i bawb o'r bron, pa un bynag ai eu bod yn cadw gerddi ai peidio.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Venus. Y mae sug y dail a'i gymeryd am ben yr un faint o finegr, a hyny yn lled aml, yn dda i attal pob math o waedlif, pa un bynag ai o'r genau ai o'r ffroenau, neu unrhyw le arall; y mae yn dda yn yr un modd i attal y terms neu y cyrsiau misol ar ferched, ond y mae yn rhaid dal ato am hir amser; ac y mae yn gwellhau yr iau oer, ac yn helpu i'r bwyd dreulio trwy y cylla; ac fe ddywedir ei fod yn feddyginiaeth dda i iachau brathiad ci drwg: mae yn helpu merched mewn gwewyr caled, ac yn dda yn erbyn y gratel yn y lwynau. Mae y dail hyn yn lled gyffredin, ac am hyny fe allai eu bod yn cael eu hesgeuluso, o herwydd eu hagosder atom, ond y mae ynddynt lawer o rinweddau da: y maent yn bur dda i'r rhai sydd yn dechreu *decayo;* cymerwch wy iâr newydd ei ddodwy, a llonaid llwy fwrdd o rum, ac ychydig o'r dail hyn wedi eu malu yn fân, a'u cymysgu â llefrith, i'w hyfed bob boreu. Dyma gyngor da, ac a fu er lles i laweroedd; gellwch roi atynt lonaid cwpan de o lefrith, a hwnw newydd ei odro. Gwnewch drwyth gref o'r dail, toddwch gnap o alm ynddo, melyswch â mêl, a golchwch y genau a'r gwddf âg ef yn fynych pan y byddont yn

ddolurus, a hyn hefyd a wellha yr anadl pan y byddo yn ddrewllyd o achos ysgyrfi yn y *gums*, ac amrywiol bethau o'r cyffelyb.

---

### *St. John's Wort.*—Y GAN'TWLL.

Y MAENT yn tyfu yn gyffredinol yn mysg coed a lleoedd cysgodol, ac hefyd ar ochrau cloddiau; y maent yn blodeuo oddeutu canol yr haf, a'u hâd yn aeddfed yn Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth yr Haul, ac yn arwydd y Llew. Maent yn ddail da rhagorol i iachau briwiau, pa un ai yn dufewnol ai yn allanol y b'ont: fe'u cymhellir i'w berwi mewn gwin, a'i yfed i wellhau briwiau yn y rhanau tufewnol. Ond gan na all y bobl gyffredin gael gwin, gallant yn llwyddiannus eu berwi mewn dwfr, a'i yfed hwyr a bore: ac fe ddywedir eu bod yn dda i'r rhai sydd wedi cael eu hysigo oddi mewn trwy godymau, neu ryw ddamweiniau ereill. Mae y drwyth a wneir o honynt yn dda i'w hyfed o flaen ffit o'r cryd; mae yn ei symud ac yn ei hatal yn fuan wrth ddal ati, sef ei hyfed yn gynhes, wedi ei chymysgu â thriagl, o flaen y ffit, a myned i'r gwely ar ei hol: ac yn mhellach eto, y mae yn dda i'w hyfed am ddeugain niwrnod, sef y drwyth a wneir o'r hadau, a'r dail, i iachau y polsi. Mae powdr a wneir o'r hadau, a'i yfed mewn rhyw beth cyfaddas, neu ei gymeryd mewn mêl a'i fwyta, yn dda i'r

rhai y mae eu gwaed yn dolchenau yn eu cylla, ac yn gystal at bob math o friwiau a ffaeleddau oddi mewn. Mae eu trwyth yn dda i'w hyfed i'r rhai sydd a briwiau ar eu coesau, neu ryw ran arall o'r corph: ac y mae yr eli a wneir o honynt yn dda i iachau briwiau. Berwch y dail ar ol eu cnocio mewn ymenyn gwyrf a'u ystraenio trwy liain, ac ail ferwi yr hyn a straenir yn nghyd ag ychydig ystor a chŵyr melyn, a'i wneyd yn gymhwys o galedrwydd; dywedir fod hwn yn eli da i groeni briwiau yn esmwyth, ac yn dygymod â'r cnawd yn dda. Nid wyf fi yn gweled yr angenrheidrwydd dyweyd llawer am eu gwahanol a'u hamrywiol rinweddau, gan mai dail briwiau da ydynt: ac yr wyf finau yn dewis cadw yn agos i'r marc.

---

## *Mouse Ear.*—CLUST Y LLYGODEN.

DEILEN fechan ydyw hon, ond yn llawn o rinwedd: mae hi yn tyfu yn gyffredin mewn ffosydd sychion, ar fangciau, ac weithiau ar leoedd tywodlyd. Mae yn ei blodau yn mis Mehefin neu Gorphenhaf, ac yn aros yn lâs trwy y gauaf.

*Rhinwedd.*—Mae hi yn tyfu o dan lywodraeth y Lleuad. Y mae hi yn rhagorol o dda rhag y clefyd melyn, trwy yfed y drwyth a wneir o honi, hwyr a bore, a pheidio yfed un ddiod arall am ddwy awr ar ei hol; fe ddywedir fod hyn yn gwellhau y clefyd neu y clwyf

melyn, er mor niweidiol y b'o wedi goresgyn y corph; ond gallwn benderfynu fod yn rhaid dal at y cyngor am fwy nag ychydig o droiau, am nas gellir dysgwyl fawr o leshad mewn tro neu ddau yn y fath ddolur: ond sylwch, y pigyn neu'r colic a ellir, trwy foddion llwyddiannus, ei dòri, sef ei wellhau, y tro cyntaf y cynygir ef, gyda rhyw beth cyfaddas i'r gorchwyl; ond nid wyf fi yn barnu y gwna y ddeilen hon hyny: eithr am y clefyd melyn, ac amrywiol bethau ereill, y mae yn rhaid cael hir amser cyn y gellir puro y gwaed a chlirio y fath ddoluriau peryglus: ond y mae mwy o rinweddau eto yn perthyn i'r ddeilen fechan hon. Y mae hi yn dda i attal gwaedu yn y rhanau tufewnol, sef o'r genau a'r ffroenau, yn gwellhau y clwyf gwaed, ac yn arafu yr arferiad misol, pan ag y b'o achos am hyny: ac fe ddywedir ei bod yn feddyginiaeth dda i'r rhai sydd a briwiau oddi mewn, a'r rhei'ny yn dueddol i waedu. Y mae y ddeilen hon yn gymeradwy ac enwog iawn yn Itali; mae yr *Apothecaries* yn gwneuthur *syrup* o'i sug yn nghyda siwgr, i wellhau y pesychu, ac i iachau y rhai f'o wedi briwio eu llen-gig. Yn allanol y maent yn iachau briwiau: os cymerwch y dail yn leision, a'u cnocio, a'u rhwymo ar friwiau newydd neu dòriad, hwy groenant yn fuan: ac y mae eu sug yn dda i olchi briwiau yn y genau a'r gwddf, ac hefyd yn y rhanau dirgelaidd. Mae eu sug yn dda i olchi briwiau a fyddo yn cerdded, megys y

cancr, y rhai sydd yn ysu ac yn bwyta cnawd newydd: os na fydd yr amser ar y flwyddyn yn caniatâu i gael eu sug, cymerwch y dail sychion a gwnewch hwy yn bowdr, a rhoddwch ef ar y briwiau. Y ffordd i'w cymeryd yn dufewnol:—Gellwch eu berwi mewn dwfr yn drwyth gref, a'u melysu â rhyw beth cyfaddas; mêl at y pesychu, siwgr gwŷn i atal gwaed, &c. Gellwch yfed o'r drwyth wrth eich rheswm, am eu bod yn hollol ddiberygl. Gwelwch nad ydyw y dail hyn ond bychain, ond y mae llawer o rinweddau da yn berthynol iddynt.

---

*Mugwort.*—LLYSIAU IFAN.

Y MAE hon yn ddeilen gyffredin, ond bod ei rhinwedd yn cael ei esgeuluso yn fawr. Mae hi yn hawdd i'w chael, ac yn tyfu o gylch pedair neu bum' troedfedd o hŷd; yn blodeuo ac yn hadu yn niwedd yr haf.

*Rhinwedd.*—Mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Venus, ac yn arwydd y Fantel. Maent yn fwy perthynol i ferched nag i feibion. Mae y dail hyn yn rhagorol o dda, trwy eu berwi mewn dwfr yn drwyth gref, i ferched i eistedd yn glos uwch ben yr agerdd, i helpu y cyrsiau misol pan y b'ont yn anhwylus ac yn rhy araf; ac hefyd y maent yn dda i'w defnyddio yr un modd i helpu y gwewyr ar enedigaeth dyn bach, ac i ddyfod a'r ail i lawr ar ol genedigaeth;

sylwch ar bob peth a wnaiff ddaioni i ddyfod a'r plentyn yn ei flaen, hyny a wnaiff les i ddyfod a'r ail i lawr; a phob peth a wnaiff les i ddyfod a'r ail i lawr, a wnaiff help i ddyfod a'r cysiau misol i lawr. Mae y dail hyn hefyd yn dda i wellhau y rhai sydd yn cael eu blino gan wynt y fam, trwy eu berwi ac yfed eu trwyth yn lled fynych; ac fe ddywedir hefyd eu bod yn helpu rhai i wneuthur dwfr pan f'o wedi stopio. Mae sug y dail yn dda i'w yfed i ddeffroi ac i ladd effaith gwenwyn, pan y b'o rhai wedi cael gormod o ddiod gwsg: ac os na chewch eu sug, berwch y dail, ac yfwch yn helaeth o'r drwyth. Y mae llonaid llwy de o'r powdr a wneir o'r dail, a'i yfed ar win gwyn, yn dda i esmwythâu y gowt. Yn allanol, y maent yn dda i iachau cnapiau a chwarenau o amgylch y gwddf, a'r *wem* hefyd, meddant hwy: y ffordd i'w defnyddio, yw eu hel a'u cnocio; a hel yr un faint o ddail llygad y dydd, a'u berwi mewn bloneg hyd nes y crebychont, yna straeniwch hwy trwy liain, ac irwch y chwarenau âg ef yn fynych. Mae y dail hyn, trwy eu cyd-ferwi â llysiau'r dryw, a golchi yr aelodau â'r drwyth yn gynes, yn dda i iachau y cylymau gwythi *(cramp,)* neu boen yn y gewyn.

---

*Moon wort.*—LLYSIAU Y LLOER.

FE ddywedir os gwna ceffyl sathru ar y dail hyn, ar ryw amser neillduol, y tynant ei bedol-

au; ond nis gwn i ddim am hyny, oblegyd na welais erioed mo'i brofi: eithr am eu rhinweddau meddygol, mi a'u hadroddaf yn ddyogel.

Y maent yn tyfu o dan lywodraeth y Lloer, fel y gallwn weled oddiwrth yr enw sydd arnynt.

Y maent yn tyfu mewn gelltydd a bryniau gwelltog, ac yn hyfrydu bod mewn lle gwelltog. Y maent i'w cael yn mis Ebrill, ond pan gyfodo gwres yr haf hwy a wywant, ac a ânt ymaith yn fuan.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn oerion yn eu natur; ïe, yn oerach na dail Tafod y Neidr. Sylwch yn gyntaf am eu rhinweddau yn dufewnol;—eu sug sydd yn rhagorol o dda, trwy ei yfed mewn gwin coch, i atal y cyrsiau misol pan y byddont yn dyfod yn rhy helaeth, ac yn methu a'u rhwystro; na ryfeddwch fy mod yn ysgrifenu mor fanwl ar y dolur hwn, llawer yn rhy fychan sydd wedi ei hysbysu arno, am ei fod yn cyffwrdd â'r bywyd naturiol bob tro; ac fe all y bywyd fyned i gerdded cyn y gellir cael meddyginiaeth o bell, ond gellir hel y dail hyn yn eu hamser, a'u gwneuthur yn *syrup*, fel ag y cewch eich dysgu yn niwedd y llyfr, a'i gadw yn eich ymyl trwy y flwyddyn. Y maent hefyd yn helpu y rhai sydd yn gwaedu oddi mewn, pa un bynag ai i lawr ai i fyny y byddo yn dyfod; gwelwch eu rhinweddau at y doluriau a enwyd uchod, ac nid ydwyf yn ei farnu yn fuddioldeb cymysgu eu rhinwedd at amrywiol a gwahanol ddoluriau tufewnol, am fod yr hyn a ddywedwyd yn ddigonol.

Yn allanol, fel y canlyn; y maent yn gwellhau pob math o gleisiau a f'o ar ddynion ar ol codymau, neu ar ol cael eu curo, neu ryw ddamweiniau o'r cyffelyb, neu wedi ysigo eu hunain neu *streinio* rhyw aelod, trwy eu berwi a golchi y lle dolurus â'r drwyth yn fynych; y mae eu sug yn dda i iachau briwiau newydd a f'o ar ryw fan o'r corph: gwelwn fod y dail hyn yn ocrion yn eu natur yn gyffelyb i'r Lleuad, yr hon sydd yn eu rheoli; gallwn ninau ddysgu oddiwrth hyn os bydd rhyw le ar y corph yn ddolurus, yn goch, ac afrywiog o'i amgylch, ac yn teimlo rhyw ysfa wresog, gellwch gymeryd trwyth y dail hyn i olchi y cochni, ac fe a'i gwna yn lliwgar, am fod y dail yn oer, a'r dolur yn boeth; ac felly fel dwfr a thân, y naill yn erbyn y llall: ond sylwch eto, os bydd y dolur yn teimlo yn oer ac heb gochni, gochelwch gymeryd y dail hyn, ond rhaid i chwi gymeryd dail sydd yn tyfu o dan lywodraeth yr Haul, neu rai o'r planedau gwresog, i'r dyben o wresogi y lle dolurus ac oer.

---

### *Henbane.*—Ffa'r Moch.

Y mae y dail hyn yn tyfu gydag ochrau y ffyrdd a'r cloddiau, a than gysgod hen waliau. Y maent yn blodeuo yn mis Mehefin, a'u hadau yn syrthio i'r ddaear, ac yn tyfu yn flynyddol o'u heuad eu hunain.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn. Yn y lle cyntaf, sylwch nad

wyf yn eu cymhell yn dufewnol, ond yn allanol yn unig; y maent yn oeri pob math o chwydd poeth a gwresog, a chochni yn mhob rhan o'r corph, pa le bynag y byddo; y maent yn rhagorol o dda i olchi'r llygadau pan y byddont yn gochion ac yn ddolurus; ac y maent yn dda i'w berwi mewn gwin i olchi y dirgeloedd â'r gwin, neu roddi y dail yn gynhes arnynt; ac y mae yn gystal hefyd at fronau merched pan y byddont yn chwydd coch dolurus; y maent yn dda i'w berwi mewn dwfr at olchi y cymalau a'r aelodau pan y byddont yn cael eu blino gan y *gout* neu y cryd-cymalau poeth; gellwch ferwi y dail mewn finegr at olchi y talcen a'r arleisiau i dòri y cur a f'o yn y pen. Y mae sug y dail yn dda i'w ddiferu i'r clustiau pan y byddont yn methu a chlywed yn dda, ac hefyd yn tòri y swn ynddynt. Y mae y drwyth a wneler o'r dail yn dda i olchi dyn neu anifail pan y b'ont yn magu llau: y maent yn dda hefyd i'w berwi i ddal y traed a'r dwylaw uwch ben yr ager i iachau y llosg eira, ac amryw agenau a f'o ar y traed neu y dwylaw. Daliwch fanwl sylw, nad oes un rhan o'r dail hyn i'w cymeryd yn dufewnol, am eu bod yn annymunol ac yn wenwynig i'r rhanau hyny; ond gellwch eu defnyddio yn allanol, yn ol y cyfarwyddyd uchod, gyda llwyddiant: os dygwydd i chwi eu bwyta, neu yfed eu trwyth mewn camgymeriad, y feddyginiaeth oreu ydyw yfed llaeth geifr yn helaeth; gallwn feddwl fod llefrith defaid neu wartheg

yn dda, ond fe allai nid mor effeithiol i ateb y dyben.

---

### *Hound's Tongue.*—TAFOD Y CI.

MAE y dail hyn yn arogli rhyw beth yn debyg i'r arogl a fydd ar lygod. Y maent yn tyfu mewn tir llaith, a thir gwyllt heb ei wrteithio, ac mewn ochrau eloddiau a ffosydd yn gyffredin trwy y gwledydd hyn.

Y maent yn blodeuo yn misoedd Mai a Mehefin, a'u hadau yn addfed yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Y mae y blaned Mercuri yn hòni hawl i'r dail hyn, am eu bod yn tyfu o dan ei llywodraeth. Os oedd y ddeilen a enwyd o'r blaen yn lled beryglus, y mae y dail hyn yn hollol ddiberygl i'w cymeryd yn dufewnol; y mae y powdr a wneir o'r dail yn dda i'w wneuthur yn bills, ac os byddwch yn anghyfarwydd ar wneuthur pills, gellwch gymeryd llonaid llwy dê, neu lai, o'r powdr a wneir o'r gwraidd mewn triagl, un waith yn y dydd, i sychu ac i attal y dwfr sydd yn rhedeg ac yn peri i'r llygaid ddyfrio, ac weithiau yn llenwi y ffroenau o ddwfr gloyw sy'n rhedeg i lawr o'r pen, ac y mae ar rai prydiau yn diferu i lawr ar y cylla a'r ysgyfaint, ac yn achos o besychu a diffyg anadl; meddyliaf, os ei gymeryd rhag y pesychu y byddwch, mai gwell cymeryd ychydig o hono mewn mêl hwyr a bore: y maent hefyd yn helpu brathiadau cŵn drwg, trwy yfed y drwyth a rhoddi y dail

ar y lle dolurus; y mae sug y dail yn dda i olchi y pen at gadw y gwallt rhag colli; ac os na chewch y sug, cnociwch y dail, a berwch hwynt mewn bloneg, yna streiniwch, ac irwch y lle ffaeleddus âg ef bob nos; fe wna hwn y tro, yn yr un modd, i iachau lle a fyddo wedi ei ysgaldio neu ei losgi; ac os cnociwch y dail yn leision, a'u rhoi ar friw newydd, fe a'i croena yn fuan: fe ddywedir os rhoddwch y dail hyn o dan eich traed yn eich esgidiau, na chyfartha y cŵn mo honoch, ond nis gwn i ddim am hyny, am na phrofais mo honynt.

---

*Houseleek.*—Cynffon y Llygoden.

Y maent yn ddigon adnabyddus, am eu bod yn tyfu ar hen waliau ac ochrau tai, ac yn blodeuo yn mis Gorphenhaf.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter, ac fe ddywedir eu bod yn cadw yn ddyogel y lle y b'ont yn tyfu arno rhag un perygl oddiwrth dân neu fellt; y maent yn rhagorol o dda at amrywiol o ddoluriau tufewnol, megys ffitiau o'r cryd, sef yn y ffit boeth; ac fe ellir eu defnyddio yn fynych at oeri a thymheru y gwaed, trwy wasgu y dail a berwi eu sug gyda siwgr coch, a chymeryd o hono yn lled fynych pan y b'o gormod o boethder yn y gwaed: ac yn allanol y maent yn dra rhinweddol mewn amrywiol ddoluriau, sef y llygadau, pan y b'ont yn gochion ac

yn ddolurus, cymerwch sug y dail a diferwch iddynt, a golchwch yr amrantau âg ef; y sug sydd yn rhagorol o dda i iachau tân iddwf, trwy olchi y lle doluras âg ef; y mae hefyd yn dda i olchi lle a f'o wedi ysgaldio, neu ei losgi, ac yn dda i olchi y cancr, ac i dòri poen yn mha le bynag y b'o, os bydd gwres a chochni yn achos o hono; y mae yn iachau defaid ar y dwylaw, neu ryw le arall; ac y mae yn gwellhau dolur yn y pen, ac yn helpu i rai gael eu cwsg sydd yn methu a chysgu, trwy olchi y talcen a'r arleisiau âg ef; os bydd y pen yn wresog fe'i gwellha, ond os bydd y pen yn oer nis gellir dysgwyl dim lleshad oddiwrthynt: gellwch hefyd gnocio y dail a'u rhoi ar y coryn neu y gwegil i attal y gwaedlif, sef gwaedu o'r ffroenau, a hyny gyda brys; ac os rhwbiwch y dail ar le a f'o wedi cael ei losgi gan ddanadl poethion, neu ei bigo gan wenyn, hwy a'i gwnant ef yn ddiboen yn fuan.

---

## *Knot-grass.*—Berw yr Ieir.

Y maent yn hollol adnabyddus trwy yr holl wledydd hyn; y maent yn tyfu gydag ochrau y ffyrdd, llwybrau traed a hen waliau.

Y mae yn ymddangos mai Sadwrn ydyw perchenog y dail hyn, ond er fod ymrafael wedi bod yn mhlith rhai o'u plegid, am y myn rhai mai o dan lywodraeth yr Haul y maent, eto fe ddywed yr awdwr, tu hwnt i bob am-

henaeth, eu bod o dan lywodraeth Sadwrn, a hyn sydd yn cael ei gadarnhau wrth ystyried eu rhinwedd.

*Rhinwedd.*—Y maent yn hynod o dda i attal gwaedu o'r genau, trwy eu berwi a'u hyfed gyda gwin coch; ac nid ydynt ddim llai eu heffaith at bob math o waedu tufewnol; wrth eu cymeryd yn yr un modd, hwy a wnant y tro yn mhob achos o'r natur yma, sef clwy'r gwaed a'r cyrsiau misol; y maent yn lled debyg i'r rhai sydd o'u blaen mewn perthynas i oeri y gwaed, ac fe ddywedir eu bod yn dda i iachau y rhai sydd wedi cael eu brathu gan ryw greadur neu ymlusgiad gwenwynig. Yn allanol,—y mae eu sug yn attal y gwaedlif wrth olchi y talcen âg ef, neu ei chwistrellu i'r ffroenau; ac yn dda i'w ddiferu i'r clustiau pan ag y byddont yn rhedeg ac yn ddolurus; y mae hefyd yn dda i olchi pob math o dòriadau crachlyd a chancr, a briwiau hen a newydd, yn nghyda phob math o gochni, chwydd, a thòriadau trwy y croen, yr hyn sydd yn codi oddiwrth ormod o wres ac anmhurdeb yn y gwaed, a dywedir eu bod yn iachau y pethau hyn yn fuan.

---

## *Lettuce.*

Y MAE y dail hyn yn tyfu yn y gerddi, am hyny ofer yw dywedyd llawer am eu dull, oblegyd eu bod yn adnabyddus i bawb o'r bron.

*Rhinwedd.*—Y Lleuad sydd yn llywodraethu

y dail hyn; y maent yn oerion yn eu natur, yn debyg i'r rhai o'r blaen: y mae eu sug yn dda i olchi y taleen pan ag y byddo'r cwsg wedi cilio, ac y maent yn yr un modd yn tòri dolur y pen, pan y byddo yn codi oddiwrth ormod o wres. Y mae y dail hyn yn cael eu gwahardd i'r rhai sydd a'u gwynt yn fyr, sef diffyg anadl; ac hefyd i'r rhai sydd yn poeri eu gwaed, a'r rhai sydd yn ddrwg yn eu hysgyfaint;—da ydyw i bawb gael gwybod y gwahaniaeth rhwng y da a'r drwg.

---

*White Lily.*—Lili Wen, Lili'r Gerddi.

Ofer yw ysgrifenu am ddull dail mor adnabyddus yn mhob gardd.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth y Lleuad, ac yn oer yn eu natur; fe ddywedir fod eu sug yn dda i'w yfed mewn gwin yn erbyn gwenwyn, ac hefyd yn erbyn clefyd a fyddis wedi ei gael oddiwrth bethau gwenwynllyd a geir o ddwfr neu o'r awyr; am nas gellir cael fawr o'u sug, eu berwi mewn gwin a wna y tro yn llawn cystal, a'u hyfed yn fynych; dywedir fod y sug, neu y drwyth a wneir o honynt, a'i dylino gyda blawd haidd, ei grasu yn dorth, a'i fwyta yn fara fel cyffredin, yn feddyginiaeth ragorol o dda yn erbyn y dropsi, ond gallwn feddwl fod yn rhaid gwneyd hyn yn nechreuad y dolur, cyn iddo gael y llaw uchaf; canys os felly y bydd, nid ar ychydig yr iacheir y dropsi, ac y mae yn ofynol pan y medd-

ylir fod y dolur yn cymeryd lle fyned i ymofyn help tuag ato.

Yn allanol, yr eli a wneir o'r gwraidd a bloneg sydd dda i iachau penau crachlyd, ac y mae'n dda ragorol i wellhau y gewynau pan ag y b'ont wedi eu briwio trwy ryw ddamweiniau; ac hefyd gwna iachau hen friwiau dyfrllyd; y mae eu gwraidd wedi eu rhostio mewn lludw poeth, a'u cymysgu â saim gwyn yn bowltis, yn dda i dori chwydd pan ag y b'o eisiau gwneuthur hyny, sef penau-ddüynod neu ryw anafodydd ereill, ac fe a ddywedir ei fod yn eli da i iachau llosg tân ac ysgaldiad, wrth eu hiro âg ef.

---

### *Dog's Mercury.*—Sawdl y Crydd.

Y mae y dail hyn yn adnabyddus yn y gwledydd hyn yn gyffredinol. Y maent yn eu blodau yn misoedd yr haf, a'u hâd yn addfed yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Fe ddywed rhai eu bod dan lywodraeth Mercuri, ac fe fyn ereill eu bod tan lywodraeth Venus, ond y mae pob tystiolaeth wrth ddarllen am eu rhinwedd mai Venus sydd yn eu llywodraethu, canys ni wybum i erioed fod Mercuri yn ymdrin dim â materion merched, ond y mae Venus a'i holl bleser yn y gwaith; y mae y dail hyn yn cael eu cyfrif yn rhagorol o dda yn holl ddoluriau merched, sef ffitiau y fam, ac amrywiol bethau o'r cyffelyb; ac i ddyfod a'r arferiad misol a'r ail i lawr. Y mae

dau ryw o'r dail hyn, sef gwryw a benyw, ac y mae Theophrastus yn ei ysgrifeniadau yn dyweyd fel y canlyn:—Os gwna merch ferwi y dail hyn, ac yfed y drwyth yn gryf yn lled fynych, am dri diwrnod nesaf i'w gilydd, ar ol iddi ddechreu beichiogi, a'i chyrsiau misol wedi myned heibio, y bydd iddi gael plentyn gwryw neu fenyw yn ol natur y dail hyn; hyny yw, os y dail gwryw a yfer y gellir dysgwyl y plentyn yn wryw, ac os y dail benyw a yfer y gellir dysgwyl y plentyn yn fenyw, o'r unrhyw natur a'r llysiau; ac enwais fy ngharn fel nas gall neb feio arnaf os na bydd y peth yn cyd-weithio â'u meddyliau: dywedir hefyd fod eu had wedi eu berwi gyda wermod, ac yfed y drwyth, yn iachau y clwyf melyn gyda phrysurdeb; y mae rhai yn arferyd yfed dracht o'r drwyth wedi ei felysu â siwgr i weithio y corph i lawr, hyny yw, i weithio yr afiechyd o'r bol, a'r holl ranau tufewnol. Yn allanol, dywedir fod eu sug yn dda i'w ddiferu i'r llygaid pan y byddont yn ddolurus, ac i'r clustiau pan y bydd poen ynddynt; rhwbio eu sug ar ddefaid a fyddo ar ddwylaw, neu rhyw le arall, a'u hiacha ac a'u tyn hwynt ymaith; y mae eu sug wedi ei gymysgu â finegr yn iachau pob math o doriadau allan o'r croen, sef crach o bob rhyw natur, ac ymgrafu hefyd, yn nghyda phob rhyw wres o'r cyffelyb; ac y maent yn dda hefyd i wneuthur powltis i ostwng chwydd ac i gilio cochni. Y rhyw fenyw o honynt sydd a'u dail yn galetach a'r coesau yn hwy na'r rhai gwryw;

ond y mae yr un rhinwedd yn y ddwy, am a wybum i.

---

### *Lavender*

Y MAE y dail hyn i'w cael mewn gerddi yn gyffredinol wrth yr enw hwn, am hyny nid oes un math o angenrheidrwydd gwastraffu inge a phapur i ddyweyd dim am eu dull.

*Rhinwedd.*—Y maent tan lywodraeth Mercuri, ac yn rhagorol dda yn holl ddoluriau y pen, sef y polsi, ffitiau yr *apoplexy*, a phob rhyw ddrwg a fo'n magu yn y pen trwy oerfel; yn dda yn y cylymau gwythi, yn cryfhau yr ystumog, sef y cylla, ac yn attal gwasgfeuon; dywedir eu bod yn help i gael ymadael â phlentyn marw, pan ag y b'o wedi marw yn y groth, ac hefyd i ddyfod a'r ail i lawr, ac i chwalu y gwynt; y mae eu blodau gwedi eu rhoddi yn ngwlych mewn gwin dros nos, ac yfed y gwin, yn helpu y rhai sydd yn ffaelu â gwneyd dwfr i wneuthur hyny; y maent yn dda hefyd i'w berwi gyda *Hoarhound* a Ffenigl, a'i yfed rhag ysgafnder mewn pen; dwy lonaid llwy fwrdd o'r hyn a ddistilir o honynt sy'n bur dda i'r rhai sydd wedi colli eu llais wrth siarad; ond y ffordd o'u cymeryd trwy eu berwi mewn dwfr, ac yfed dracht wrth eich rheswm hwyr a bore, a etyb yr un dyben.

Y mae math arall o honynt yn tyfu yn y gerddi, ac fe'u gelwir yn *Lavender cotton.*

Y maent dan lywodraeth yr un blaned, a'u rhinwedd sydd yn erbyn gwenwyn, madriad yn y corph, a brathiadau rhyw fwystfilod gwenwynig: y ffordd i'w cymeryd ydyw sychu y dail, eu malu yn llwch, a'u gogryn, a chymeryd un dram o'r llwch bob bore cyn bwyta dim arall; un dram yw rhanu wns yn wyth ran, a chymeryd un o honynt.

---

## *Honey Suckle.*—DAIL GWYDDFID.

NID wyf yn gwybod am ddim gwell dail na'r rhai'n at yr *asthma*, neu hen besychu; hefyd y maent yn cymeryd ymaith holl afiechyd y spleen, yn gwellhau y grafel, ac yn helpu merched wrth esgor; maent hefyd yn iachau y cylymau gwythi, a'r ffitiau confylsiwn, a phob rhyw afiechyd sydd yn dyfod trwy oerfel. Y ffordd i'w cymeryd:—Cnociwch y dail yn nghyda'u blodau, a gwasgwch allan eu sug, a chydferwch â siwgr coch; cymerwch o hono lonaid llwy fwrdd dair gwaith yn y dydd, rhag yr holl ddoluriau a enwyd uchod: os na fydd y dail i'w cael yn leision, berwch hwynt yn nghyda mêl, ac yfwch o'r drwyth. Os ewyllysiwch wneuthur enaint o honynt i lanhau eich crwyn, ac i dynu lliw'r haul, cnociwch y dail a'r blodau, a berwch hwynt mewn bloneg, ac irwch eich hunain âg ef.

## *Motherwort*—Llysiau y Fam.

Y mae y dail hyn yn gyffredin ac yn hawdd i'w cael, am eu bod yn tyfu yn y gerddi, ac nid yn wylltion.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Venus, ac yn arwydd y Llew. Nid oes eisiau mo'u gwell i ymlid y melancoli allan o'r corph, yn enwedig o'r galon, ac yn ei chryfhau yn rhagorol yn erbyn gwasgfeuon yn nghwsg ac hefyd ar draed; y maent yn gwneuthur merched yn llawen fam plant, ac yn sefydlu y groth yn ei lle fel y dylai fod; oddiar y rhinwedd hwn y maent yn cael yr enw hwn, sef Llysiau y Fam: os cymerwch un llonaid llwy dê o'r powdr a wneloch o'r dail, a'i gymeryd mewn gwin, mewn gwewyr caled ar enedigaeth un i'r byd, dywedir fod hyn yn eu helpu yn dda ragorol; ac y maent yn dda hefyd i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr, ac yn help i wneuthur dwfr, ac yn lladd y llyngyr yn y bol.

Yn allanol, y maent yn dda i'w berwi i olchi y cymalau a'r gewynau â'r drwyth yn gynes, a'u defnyddio yn yr un modd yn erbyn y cylymau gwythi: gwelwch y ffordd i'w cymeryd yn dufewnol, ac nid oes dim perygl ynddynt, ond gellir eu berwi mewn dwfr yn drwyth cryf, ac yfed yn helaeth o hono wrth eich rheswm; mwy perthynol ydynt i ferched nag i feibion.

## *Marsh-mallows.*—Dail yr Hocys.

Gwraidd y dail yma sydd yn dda i'w berwi mewn *broth* i ryddhau ac i dymheru y corph pan fyddo yn dueddol i fod yn rhy rwym: rhoddwch eu sug mewn gwin i wraig a fyddo ar ben ei hamser, a hi a gaiff fyned i'w gwely yn fuan a diberygl; a phan byddo merched yn rhy brin o laeth yn eu bronau, hwy a gânt helaethrwydd trwy fynych ddefnyddio y dail hyn: llonaid llwy fwrdd o'u sug bob bore sydd yn rhagorol i gadw y corph mewn iechyd, ac hefyd i'r rhai sydd yn dueddol i daflu eu bwyd: y gwraidd a'r dail wedi eu morteru a'u gwneyd yn bowltis gyda blawd haidd a mel ac oil roses, sydd dda i ostwng chwydd. Cofiwch am ferwi eu gwraidd mewn llefrith a chwrw, ac yfed yn helaeth o hono, yr hyn, gyda bendith Duw, a'ch gwna yn hollol iach o'r clwyf gwaed.

---

## *Mwstard.*

Y maent yn rhagorol dda i bawb sydd eisiau puro eu gwaed a chryfhau eu hystumog, ac i hen bobl a fyddont yn cael eu poeni gan ddoluriau a fyddo yn tarddu oddiwrth oerfel, a'u gwaed hwythau yn deneu ac yn oer; y mae Mwstard yn boeth yn y pedwerydd gradd, a thrwy hyny yn cysuro y natur oerllyd; gadewch i henaint wneyd defnydd o honynt, canys nid oes ar ieuengctyd sydd a'u gwaed yn llawn

gwres angen am danynt. Berwch eu had mewn gwin gwyn rhag y grafel a'r gareg; y maent yn lladd nerth gwenwyn yn y corph. Gellwch eu cymeryd mewn cwrw, ar eich brechdan, neu gyda chig, rhag y doluriau uchod.

---

*Nettles.*—DANADL POETHION.

HAD y dail hyn trwy eu powdro a'u cymysgu mewn mel sydd dda i'w cymeryd rhag pesychu, diffyg anadl, a chaethiwed yn y frest, ac i helpu codi y fflems i fyny, fel y gellir poeri yr afiechyd allan. Berwch eu had mewn gwin gwyn, ac yfwch y drwyth rhag y grafel a'r gareg, mae hyn wedi ei brofi yn aml yn llwyddiannus; y maent yn lladd llyngyr mewn plant, ac y maent yn dda hefyd i iachau brathiadau cwn drwg, a'r rhai a fyddo wedi bwyta cegyd yn eu hanwybodaeth: rhag brathiad ci drwg cymerwch yn dufewnol, a chnociwch y dail gyda halen, a rhoddwch hwynt yn allanol ar y lle.

---

*Parsley*—PERSLI.

MAE y dail hyn yn fwy perthynol i chwalu y grafel ac i dòri y gareg nag un peth arall. Y ffordd oreu i'w cymeryd rhag y grafel yw eu rhostio megys llysiau gwynion, a'u bwyta.
Cewch gynghor fel y canlyn rhag y clwyf melyn, y dropsi, y ffitiau, a dolur y gareg;—Cymerwch had persli, had ffenigl, had anis,

a had carway, wns o bob un, ac wns a haner o wraidd persli wedi eu tòri yn fân, gan falu yr hadau a'u rhoddi hwynt oll mewn llonaid potel o win gwŷn dros nos, a berwch yn y bore mewn llestr pridd cauedig hyd nes lleihau y drydedd o hono, ac yna straeniwch a photelwch, a chymerwch bedair wns o hono nos a bore, gan beidio ag yfed dim ar ei ol am dair awr.

---

### *Rue.*—Yw y Gerddi.

Eu defnydd mwyaf yw helpu merched yn eu harferiad misol; ond cymered rhai beichiogion ofal am gadw oddi wrthynt, rhag iddynt niweidio nid yn unig eu plant, ond hefyd eu hunain, a gwneyd mwy o niwed mewn un awr nag a fedr y phisygwr goreu yn y wlad feddyginiaethu mewn un flwyddyn. Maent hefyd yn dda i'w hyfed rhag y grafel, trwy eu berwi mewn rhyw beth cyfaddas; yfed llonaid cwpan dê o'u trwyth yn y bore sydd dda i ladd y llyngyr. Os cymerwch eu hadau wedi eu powdro, a'u hyfed mewn gwin, hwy a wnant bob peth gwenwynig yn ddiniwed i chwi: ychydig o'r dail hyn wedi eu berwi yn nghyda chamomil, a'u cymeryd amryw weithiau o flaen ffit o grynu, a'ch gwna yn gwbl iach: mae eu sug, yn nghyda sug ffenigl, mêl, abustl ceiliog, yr un faint o bob un, yn dda i'w ddiferu i'r llygaid pan f'o y golwg yn pallu; hyn a gynorthwyodd lawer.

## *Liverwort.*—LLYSIAU'R IAU.

Y MAE y rhai sydd yn arferyd llawer â dail yn cyfrif amryw fath o honynt, ond am y dail hyn cewch ychydig ddesgrifiad o'u dull fel y canlyn; y maent yn ddail mân, yn gorwedd yn lled wastad ar y ddaear mewn lle llaith a chysgodol, ac yn llawn o ddail mân gwyrddion, a rhyw ychydig o natur glynu y naill yn y llall, ac yn fylchau pur anwastad yn eu hymylau, ac o ganol y rhai'n y mae coes fechan, dyner, o gylch modfedd o hyd, ac ar ben y rhai'n y mae y blodau yn sefyll, ac y mae y gwraidd yn hirion, yn feinion, ac yn bur dyner.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter, ac yn arwydd y Cranc. Y maent yn llenwi eu henw yn dda ragorol; y maent yn hynod o dda yn holl ddoluriau yr iau, canys y maent yn ei lanhau ac yn ei gryfhau yn rhagorol o dda, ac yn atal pob math o enynfa a gwres yn yr iau, gallwn benderfynu oddiwrth hyn eu bod yn dda i'r rhai y mae eu hiau yn mortiffeio neu yn decayo oddi mewn o achos gormod o wres; y maent yn atal y cyrsiau misol pan ag y b'ont yn rhedeg yn wynion, fel y maent yn aml yn gwneyd pan ag y bo'r iechyd wedi dyrysu; pan y gwelir felly, gellir penderfynu fod y corph mewn anhwyldeb mawr, ac yn llawn bryd chwilio am help, a hyny yn ddioed: y mae rhai wedi bod yn dra llwyddianus yn iachau y *decay* yn ei ddechreuad wrth

ferwi y dail hyn yn drwyth gref, a'i melysu â mêl neu siwgr eandi, a'i hyfed yn fynych hwyr a bore, gan roddi *blister* yn allanol ar y frest; yn nechreu y dolur hwn y mae yn ofynol ymdrechu am wellhad, cyn iddo gael gormod o amser i wreiddio, ond os caiff ef ormod o amser hyd nes y byddo y rhanau tufewnol yn dechreu llygru, nid oes ond gobaith gwan am wellhad parhaus; y ffordd oreu i'w defnyddio ydyw eu berwi mewn dwfr, neu ddiod fain, hon ydyw yr oreu, a'i melysu â mêl neu siwgr candi, a'i hyfed yn gynes ddwy neu dair gwaith yn y dydd. Y maent yn ddail hollol ddiniwed, onide cawsech eich rhybuddio yn fwy manwl.

Yn allanol y maent yn dda i iachau pob math o doriadau allan o'r croen, pob math o wres a chrach a f'o a natur ymledu ac ymdaenu, ac anharddu y croen.

---

### *Knap-weed.*—MAD-FELEN.

Y MAENT yn tyfu mewn caeau a gweirgloddiau yn gyffredinol trwy yr holl wledydd. Y maent yn eu blodau yn mis Gorphenhaf, ac yn hadu yn fuan ar ol hyny. Y maent o dan lywodraeth Sadwrn.

*Rhinwedd.*—Y mae y llysiau hyn yn dda i attal gwaed, ac nis gellwch ddewis deilen fechan i wneuthur mwy o rinwedd na hyny; y maent yn attal gwaed o'r genau ac o'r ffroenau, ac o amrywiol fanau ereill; ac os bydd

gwythen wedi tòri oddi mewn, y maent yn dda i'w berwi ac i'w hyfed; ac hefyd y maent yn iachau pob math o friwiau tufewnol, neu o'r hyn lleiaf yn attal iddynt waedu; y maent hefyd yn rhagorol o dda i iachau y rhai a f'o wedi ysigo oddi mewn, ac yn gystal i'r rhai sydd wedi tòri eu llen-gig, ac hefyd hen godymau; y ffordd i'w cymeryd gan y rhai a f'o wedi tòri eu llen-gig ydyw eu berwi yn drwyth gref, a'u melysu â siwgr gwŷn yn erbyn gwaedu, sef yr holl ddoluriau a enwyd uchod. Y mae y dail yn bur dda i olchi briwiau a thoriadau newyddion, pan y byddont yn gwaedu.

---

*Water Lily.*—LILI'R DWFR.

Y MAENT yn gyffredinol i'w cael mewn hen lynau sefydlog, ac ar rai afonydd araf weithiau. Y maent yn eu blodau yn gyffredin yn niwedd mis Mai, a'u had yn addfed yn mis Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth y Lleuad, am hyny gallwn benderfynu eu bod yn eu natur yn oerion. Y mae dail a blodau y lili yn oer ac yn llaith yn eu natur, ond y gwraidd yn oer ac yn sych; y mae y dail yn oeri pob math o wres, poethni, a chochni yn y cnawd, megys briwiau ar y coesau, neu chwydd coch yn rhyw ran o'r corph neu'r aelodau, powltis o'r dail hyn a'u hoera yn dda; y maent yn rhagorol o dda i'w

berwi ac i'w hyfed i attal ffitiau pocthion o'r cryd, ac y macnt yn rhagorol o dda, trwy eu hyfed yn yr un modd, i oeri yr ymenydd, pan ag y bo yn rhy boeth, a gormod o wres yn cyfodi i'r pen, ac yn dyrysu yr ymenydd, mewn clefydon ncu ryw beth arall, pan y b'o yr ymenydd yn cael ei boeni gan ormod o wrcs; y maent yn dda i'w hyfed i attal pob math o ryddni yn y bol, pa un bynag ai ar feibion neu ferched y b'o; ond fe gyfrifir y gwraidd yn well yn yr achos hwn: fel y rhagddywedais eu bod yn oer a sych yn eu natur, am hyny attaliant ryddni; y maent yn un o'r pethau mwyaf eu rhinwedd a'r sydd i'w cael, scf eu gwraidd, trwy eu berwi yn drwyth gref, a'i hyfed yn helaeth wedi ei melysu â siwgr gwyn i attal y rhai a f'o yn ymadael â'u had naturiol yn eu cwsg, yr hyn sydd yn gyffredin yn dygwydd pan y b'o pobl ieuaingc a gwresog yn breuddwydio; a chan fod y dail hyn a'r gwraidd yn oer wrth natur, a'r peth a enwyd uchod yn tarddu oddiwrth wres y natur ddynol, gallwn benderfynu fod y dail hyn yn oeri y rhanau hyny o'r corph; ond y cynghor a roddaf i chwi ydyw peidio a chymeryd gormod o honynt, rhag i chwi ddistrywio a marweiddio yr elfen hòno, sef ccnhedlu plant; gellwch eu berwi a melysu y drwyth â siwgr gwyn, a'i hyfed yn y doluriau a enwyd uchod.

Yn allanol y mae y dwfr a ddistilir o honynt yn clirio ac yn harddu y croen, yn tynu lliw haul a brychni oddiar y gwyneb.

*Purple Loose-strife, Willow-herb.*—LLYSIAU'R MILWR.

Y MAE tair math o'r dail hyn, a gellwch eu hadnabod wrth y darluniadau; maent yn tyfu mewn amrywiol fanau yn y gwledydd hyn, sef mewn gweirgloddiau a lleoedd lleithion, ac o gylch glànau yr afonydd: maent yn eu blodau o fis Mehefin hyd Awst, ac o dan lywodraeth y Lleuad.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn dda i atal gwaed o'r genau, o'r ffroenau, ac o'r holl ranau tufewnol; ac fe ddywedir eu bod yn iachau y clwyf gwaed, ac os gwnant hyny y maent o werth mawr; a chan eu bod mor ddefnyddiol yn y dolur peryglus hwn, nid wyf yn dewis cymysgu eu rhinwedd âg amrywiol bethau ereill, ond cadw yn agos i'r un nôd. Maent hefyd yn atal y cyrsiau misol pan y b'ont yn rhy helaeth ac yn peryglu y bywyd; y ffordd i gymeryd y dail yw eu berwi, ac yfed eu trwyth wedi ei melysu â siwgr gwyn: os byddant yn cerdded yn rhy gyflym, ac yn gwanhau y corph nes y byddo yn rhy wan i gymeryd dim yn dufewnol, rhowch ef mewn *glyster* yn y lle a f'o yn gwaedu, sef yn yr ymysgaroedd. Yn allanol y mae eu sug yn iachau briwiau newyddion, ac yn eu cau yn fuan; mae hefyd yn dda i olchi y gwddf a'r genau trwy ei gymysgu âg alum a mêl, a'i ddefnyddio yn fynych.

*Yellow Loose-strife, with spiked heads.*—LLYSIAU'R MILWR MELYNION.

Y LLE y maent yn tyfu ydyw yn agos i afonydd a ffosydd gwlybion, neu ryw le llaith o'r cyffelyb. Maent yn blodeuo yn Mehefin a Gorphenhaf. Y mae hon hefyd yn tyfu o dan lywodraeth y Lloer, ac yn arwydd y Cranc.

*Rhinwedd.*—Yr effaith goreu sydd yn y ddeilen hon yw cadw y golwg yn dda, heblaw y rhinwedd a gawsoch yn ei chymares, sef yr hon sydd o'i blaen, canys mae hi yn gyflawn o bob rhinwedd ag sydd yn hòno, am hyny ofer ydyw ei ail adrodd, ond yn unig yr hyn sydd yn ychwanegol, sef iachau neu gadw y llygadau yn dda, a'u glanhau oddiwrth bob baw a llwch calch, ac amrywiol sothach a ddichon yn ddamweiniol fyned i'r llygadau; ond pan y b'o y llygadau yn ddolurus, y dorfagl ydyw y feddyginiaeth oreu, sef ei hyfed yn fynych, ond cymeryd y dail hyn i'w golchi yn allanol, i'w cadw yn iach tra b'ont yn iach; y dwfr a ddistilir o honynt sydd yn cael ei gymhell at y llygadau, ond fe allai y gwna y drwyth a ferwer o honynt y tro yn gystal, ond fod yr hyn a ddistilir yn cadw yn hwy heb fyned yn ddrwg, ac yn parhau yn ei nerth ac heb suro. Fe ddywedir fod un rhinwedd da rhagorol ynddynt eto, sef iachau briwiau hen a newydd, trwy eu golchi â'u sug, a rhoi un o'r dail ar y briw; neu eu distilio a chymeryd dwy wns o'r

dwfr, a chwarter wns o ymenyn Mai, a hwnw heb halen, ac yr un faint o siwgr ac o gŵyr melyn, a'u cydferwi; a phan yr oero, golchwch y briw âg ef, a rhoddwch liain, wedi ei wlychu yn y drwyth, yn blygion arno: y mae y dwfr a ddistilir o honynt a rhinwedd ynddo at dynu pob math o grach oddiar y cnawd, ac yn harddu y croen.

---

*Mallows.*—HOCYS.

Y MAE y dail hyn yn adnabyddus ac yn hawdd eu cael trwy holl wledydd Cymru a Lloegr, ac yn eu blodau trwy holl fisoedd yr haf, ac hefyd yn parhau nes y gorchfygir hwynt gan y gauaf.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus. Rhinwedd y dail hyn yn fwyaf penodol sydd i iachau y bol, i weithio y corph yn raddol, ac i'w gadw yn dymherus; i dòri poen yn yr ymysgaroedd, pan ag y b'o yn codi o achos gormod o wres a rhwymder y corph; fe ddywedir eu bod yn rhagorol o dda mewn ffitiau poethion o'r cryd, ac yn holl ddoluriau y frest, sef yr iau a'r ysgyfaint, i'w hoeri, pan y byddont wedi gwaethygu trwy ormod o wres; ond os bydd ffaeledd yn y frest o achos gormod o oerfel, gwnaiff y dail hyn y dolur yn waeth; ac ar yr ochr arall, llawer o les a wnant os bydd y rhanau hyny o'r corph ag eisiau eu hoeri: y mae amrywiol ffyrdd i'w cymeryd,—rhai sydd yn eu cymeryd wedi eu

berwi mewn *broth* i ryddhau y corph, ac yn erbyn y doluriau a enwyd uchod, a rhai yn eu berwi mewn gwin, ereill mewn dwfr, ac ereill yn yfed eu sug am ben ychydig win; ond pa ffordd bynag a fyddoch yn ddewis, y maent yn hollol ddiberygl; ac y mae amrywiol yn gwneuthur powltis o honynt, ac yn eu rhoddi yn allanol ar y bol pan y b'o yn rhwym, yn galed, ac yn ddolurus; hefyd yn allanol, y maent yn iachau gyda brys y rhai sydd wedi cael eu pigo gan wenyn neu gacynod, neu ryw beth o'r cyffelyb, wrth rwbio y lle â'r dail; y mae eu sug yn dda i'w berwi gydag *oil* i rwbio y croen âg ef pan ag y b'o yn arw ac yn llawn o sorod fel cen; ac hefyd yn iachau pob math o grach sychion yn y pen a lleoedd ereill hefyd, ac yn dda yn yr un modd i olchi y pen a'r gwallt i'r dyben i'w gadw rhag colli oddiar y pen; y maent yn rhagorol o dda i olchi y genau a'r gwddf âg ef, sef â'r drwyth a wnewch o'r dail, ac alum a mêl ynddo, a golchi yn fynych âg ef; yn olaf, y maent yn cael eu defnyddio yn llwyddiannus mewn pob math o *glysters*,—gwelwn eu bod yn gweithio yn llwyddiannus ar yr ymysgaroedd, sef y bol a'r rhanau hyny sydd o dan y blaned sydd yn eu rheoli.

*Mullein.*—SURCYN Y MELINYDD, SIACED Y MELINYDD.

GELWIR y ddeilen hon hefyd yn ol y Saes'neg yn wlanen y tylodion, a hyny oddiar ei thewder a'i thebygolrwydd i frethyn neu wlanen; y mae yn tyfu gydag ochrau y cloddiau a'r ffyrdd yn gyffredin trwy y gwledydd hyn; mae yn blodeuo yn mis Gorphenhaf neu yn agos i hyny, ac yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn.

*Rhinwedd.*—Y mae ychydig o wraidd y dail hyn wedi eu malu, a'u cymeryd mewn gwin coch, yn atal rhyddni yn y bol; ac fe ddywedir hefyd fod eu trwyth yn dda i'w hyfed yn erbyn y cylymau gwythi a'r confylsiwn, ac yn dda hefyd i'r rhai sydd wedi tori eu llengig, ac yn dda i'r rhai sydd yn cael eu blino gan hen besychu. Dywedir eu bod yn dda i'w berwi yn drwyth gref, a rhoddi darn o ddur yn wynias ynddi, a gwneuthur hyny amrywiol weithiau yn y drwyth, ac yn olaf ei melysu â siwgr gwyn, a'i hyfed yn lled helaeth yn erbyn y clwyf gwaed; ac y mae'r un drwyth a enwyd yn agor atalfeydd y chwysigen pan ag y b'o rhai yn methu a gwneuthur dwfr. Yn allanol, y mae y drwyth a wneir o honynt, yn nghyda chamomile, yn rhagorol o dda i olchi y gewynau âg ef yn gynhes, pan ag y b'o rhyw ffaeledd arnynt, sef wedi rhynu gan oerfel neu ryw beth o'r cyffelyb; ac yfed ychydig o'r drwyth, a golchi y lle dolurus gyda'r cyffelyb

drwyth, sydd yn rhoi esmwythdra da i'r *gout.* Sug y dail sydd dda i rwbio defaid a f'o yn tyfu neu yn magu ar ddwylaw, ac fe'u tyn hwy ymaith yn lled fuan; fe wnaiff powdr o'r gwraidd y tro yn gystal, os bydd amser y flwyddyn yn anghyfleus i gael eu sug, a'i rwbio yn fynych ar ryw ddefaid geirwon, ond ni wnaiff ddim lles i rai llyfnion ac esmwyth. Y mae yr hadau neu y blodau gwedi eu berwi mewn gwin, a'u rhoddi ar y lle dolurus, yn dda i dynu drain a phob math o splinters a ddichon fyned i'r cnawd.

---

## *Penny-royal, Lercitus.*—BRYMLYS.

Y MAE y dail hyn yn tyfu yn y gerddi, ac yn hawdd i'w cael; maent yn eu blodau o gylch Awst, ac o dan lywodraeth Venus.

*Rhinwedd.*—Eu defnydd mwyaf penodol ydyw i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr, pan y byddont wedi rhwystro, ac i helpu y plentyn yn ei flaen, pan y byddo ar ben ei amser, ac i ddyfod a'r ail i lawr; y maent yn dda i ferched i eistedd uwch ben eu hagerdd i sefydlu y fam, ac i feddalhau ei chaledrwydd. Y mae y dail hyn a mintys, a'u cnocio, a'u rhoi yn ngwlych mewn finegr, yn dda i'w rhoddi o dan y ffroenau rhag gwasgfeuon; y mae eu harogl cryf yn y ffroenau yn foddion i'w gwellhau. Mae y dail gleision, neu eu sug, yn tynu pob math o farciau a chleisiau oddiar y gwyneb, neu ryw ranau ereill o'r corph.

*Plantain.*—DAIL LLYRIAD.

Y MAE y dail hyn yn tyfu mewn gweirgloddiau, caeau, llwybrau, a chydag ochrau y ffyrdd; maent yn eu hanrhydedd goreu o gylch Mehefin, a'u hâd yn aeddfed yn fuan ar ol hyny; maent o dan lywodraeth Venus.

*Rhinwedd.*—Y mae sug neu drwyth y dail hyn yn rhagorol o dda at attal gwaed, sef i attal y cyrsiau misol, pan y b'ont yn dyfod yn rhy helaeth; mae hefyd yn attal poeri gwaed o'r genau, ac hefyd yn gwellhau y rhai sydd yn gwneuthur dwfr gwaedlyd, sef piso en gwaed; y mae y dail hyn yn attal gwaed mewn briwiau, trwy eu rhoi arnynt, neu eu sug ynddynt; ac fe ddywedir eu bod yn dda i'r rhai sydd wedi tori eu llen-gig, trwy yfed eu trwyth a rhoi y dail yn allanol ar y lle. Mae eu sug yn dda i'w ddyferu i'r llygaid i dynu ymaith y cochni, ac i wisgo y bysen; a'i ddyferu i'r clustiau sydd yn dda i dori y boen yn y rhai hyny. Mae y powdr a wneir o'r dail yn lladd y llyngyr, ac y mae yn dda i'w ferwi a'i gymysgu gyda mêl i'w yfed i dynu ymaith grygni. Y mae y dail hyn yn hollawl ddiniwaid; gellwch eu berwi neu wasgu eu sug a'u cymysgu gyda siwgr neu fêl at y doluriau a enwyd uchod, a'i yfed wrth eich rheswm.

### *Pellitory of the Wall.*—PALADR Y WAL.

Y MAE y dail hyn yn adnabyddus yn mhob man lle y mae hen waliau, neu ryw hen adeilad a f'o wedi chwalu: y maent yn tyfu yn wyllt-ion yn amrywiol fanau yn y gwledydd hyn, ond gellwch eu magu mewn gerddi, a hwy a dyfant o'u hauad eu hunain; y maent yn eu blodau yn misoedd Mehefin a Gorphenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Mercuri, ac y maent wedi eu sychu, eu powdro, a'u cymysgu â mêl, yn dda yn erbyn diffyg anadl a chrygni yn y gwddf; fe ddywedir fod tair wns o'r sug wedi ei gymysgu â mêl, yn dda i'w yfed yn erbyn y grafel a'r gareg, ac i lanhau y chwysigen ddwfr; y mae trwyth y dail hyn hefyd yn dda i'w hyfed yn erbyn ffitiau y fam, ac yn dda hefo mêl i olchi y gwddf a'r genau â hi; hefyd i dynu brychni, lliw haul a chrach oddiar y gwyneb, trwy ei olchi yr un modd: y mae sug y dail yn dda yn y ddannodd i olchi y genau âg ef, ac hefyd i'w ddyferu i'r clustiau i dòri y boen ynddynt; y mae'r eli a wneir o honynt yn iachau crach yn mhenau plant, ac hefyd yn iachau briwiau newyddion, trwy eu cnocio a'u rhwymo ar y lle am dri diwrnod: yn olaf, y mae rhinwedd eu sug wedi ei ferwi gyda mêl, a chymeryd llonaid llwy fwrdd o hono bob bore, yn help mawr i iachau y dropsi.

### *Hemp.*—CYWARCH.

Y MAENT yn tyfu yn y gerddi a'r caeau, neu rywle lle yr heuir hwynt, ac yn adnabyddus i bawb o'r bron, yn enwedig i'r gwragedd da a diddiogi, sef y rhai sydd yn arfer a nyddu y droell bach, i wneuthur gweuoedd i gadw eu teuluoedd yn gynhes ac yn lanwaith; y maent yn cael eu hau yn niwedd mis Mawrth neu ddechreu Ebrill; y mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn.—Cewch weled fod y llysiau hyn yn dda i lawer o bethau heblaw gwneyd cyrt i ddienyddio drwg-weithredwyr.

*Rhinwedd.*—Y maent yn chwalu gwynt o'r holl ranau tufewnol, ond y mae eu defnyddio i ormodedd yn sychu i fyny yr hâd naturiol, ac yn peri i'r dyn neu y ddynes a gymero ormod o honynt sefyll mewn perygl o fod yn anmhlantadwy. Eu defnydd goreu 'ydyw yn erbyn pesychu sych poeth; y ffordd i'w defnyddio ydyw berwi yr hadau mewn llefrith, a'u hyfed hwyr a bore; y maent yn dda yr un modd yn y clefyd melyn, sef yn nechreu y dolur; y maent yn attal rhyddni a chnofa yn y bol, ac yn attal gwaed o'r genau a'r ffroenau,—y ffordd i'w defnyddio ydyw cymeryd y dail a'u ffrio gyda pheth o waed yr hwn fyddo yn gwaedu, ac yna eu rhoddi iddo i'w bwyta; ac y maent yn dda i'w cymeryd i ladd y llyngyr i ddyn ac i anifail; a'u sug sydd yn dda i'w ddyferu i'r clustiau i ladd y pryfaid ynddynt,

ac i dynu allan y pryf clustiog, neu ryw bethau byw a fyddo gwedi myned iddynt.

---

## *Peony.*—Blodau'r Brenin.

Mae dau fath o'r rhai hyn, sef yr wrryw a'r fenyw; y maent yn tyfu yn y gerddi, a than lywodraeth yr Haul, ac yn arwydd y Llew, ac yn eu blodau yn mis Mai yn gyffredinol.

*Rhinwedd.*—Y mae rhai yn dyweyd mai y rhai gwryw ydyw y goreu; ond fy marn i yw, mai y rhai gwryw ydyw y goreu i feibion, a'r rhai benyw i ferehed. Y gwraidd ydyw y goreu, yr hadau yn nesaf atynt, ac yn olaf y dail; defnydd y dail hyn ydyw i iaehau ffitiau ar blant, ac y mae rhai yn hongian y gwreiddyn wrth eu gwddf, ond y ffordd oreu ydyw eu golehi, eu slisio, a'u rhoi yn ngwlych am bedair awr ar hugain mewn gwin a dwfr, neu mewn dwfr, ac yfed draeht helaeth o hono bob newid lleuad, sef o gyleh y blaen a'r llawn, ac fe lesha hyn iddynt os na byddant wedi myned yn rhy bell (*past cure*); ac y mae y drwyth a wneir o'r gwraidd yn dda i lanhau merehed pan ag y byddont heb eu glanhau yn ddigonol ar ol geni plant; dywedir ei bod hefyd, trwy ei hyfed hwyr a bore, yn gwellhau yr hyn a elwir yn gyffredin yr hunlle; ac y mae yn dda yn erbyn breuddwydion dychrynllyd, y rhai sydd yn codi oddiar y melancoli; yfed hon hefyd sydd yn attal cyfog neu arloesi, neu daflyd i fyny.

### *Cinquefoil, Five-fingered Leaf.*—Y Ddeilen Bum' Dalen.

Nid yw hon ond deilen fechan, yn ymdaenu ar y ddaear, a blodau melynion arni. Y mae yn tyfu yn ochrau y ffyrdd, yn agos i goed, ac yn ochrau llwybrau a chonglau y caeau trwy yr holl wledydd; y mae yn blodeuo yn yr haf, rhai yn gynt a rhai yn ddiweddarach.

Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter; ac am hyny y mae y dail hyn yn cryfhau y rhanau hyny o'r corph ag y mae y blaned hòno yn eu llywodraethu, fel ag y cewch eich dysgu yn mlaen yn y llyfr hwn; os heliwch y dail hyn pan ag y b'o Jupiter yn gryf (yr hyn a ellwch ei wneuthur bob dydd ar ol cael Tabl i'ch cyfarwyddo,) a chymeryd o'r powdr a wneloch o'r dail, un *scruple*, yr hyn yw ugain gronyn, a'i gymeryd mewn gwin gwỳn, neu, os na bydd genych win, cymerwch mewn finegr gwin gwŷn, a hyny o flaen ffitiau o'r cryd, sef yr *acsis*, a'i gymeryd felly dair gwaith, hyny yw, o flaen y ffit dri thro, fe ddywedir ei fod yn iachau y dolur, sef yn ei daflyd i ffordd, ac yn iachau corph oddiwrth effaith yr unrhyw; ond peidiwch a diystyru y dail bychain hyn am eu bod yn rhwydd ac yn hawdd i'w cael; felly y mae rhoddion Duw yn wastadol i ddynolryw, fel ag y gwelwn ei fod ef o'i hunan-gynhyrfiol gariad a thrugaredd yn ewyllysio gwneuthur helaethrwydd o ddaioni i bob dyn, yn dymhorol ac yn ysprydol: ond

y mae un rhinwedd da rhagorol eto ar y dail hyn,—os yfwch dair wns o'u sug, am rai dyddiau nesaf i'w gilydd, fe iacha y clefyd melyn; ac yn mhellach eto, os cymerwch eu gwraidd a'i bowdro yn dda, gan ei roddi trwy ogr, a chymeryd ychydig o hono mewn gwin coch, a'i yfed wedi ei felysu â siwgr gwŷn yn erbyn pob math o waedu oddi mewn, pa un bynag ai mab ai merch a fyddo, ac attaliant y gwynion hefyd; ond y ffordd oreu i'w cymeryd ydyw berwi eu gwraidd mewn llefrith, a'i yfed yn fynych; gwelwch eu bod yn hollol ddiniwaid, a gellwch eu cymeryd fel ag yr ewyllysioch. Y maent yn ddail rhagorol o dda i oeri ac i dymheru y gwaed yn nechreuad clefydon; a'u sug wedi ei gymysgu â mêl sydd yn dda i dŷnu ymaith grygni o'r gwddf, ac yn bur dda yn erbyn y pesychu a fyddo yn cyfodi oddiar yr ysgyfaint; fe ddywedir eu bod yn dda i iachau y polsi ar y dwylaw, hyny yw, pan y b'o y dwylaw yn crynu, trwy eu defnyddio yn ol y cyfarwyddyd a ganlyn:—Golchwch y dwylaw yn eu sug, a hyny lawer gwaith yn y dydd, gan adael iddynt sychu o honynt eu hunain, hyny yw, peidio eu sychu â lliain, ond yn hytrach gadael i'r drwyth sychu iddynt. Y mae eu gwraidd trwy eu berwi mewn finegr yn dda i olchi rhyw fanau ar y corph pan ag y b'o rhyw lympiau yn codi yn y cnawd, chwydd, caledwch, cochni, a thân iddwf, a phob rhyw ddoluriau poenus, os byddant yn gochion ac yn afrywiog; ac os

berwch hwynt mewn gwin, y maent yn dda i olchi y cymalau i dòri eu poenus ofidiau, ac i esmwythau y *gout* yn yr un modd; y maent yn dda i'r rhai a f'o wedi briwo eu llen-gig, gellir eu defnyddio yn allanol ac yn dufewnol, sef yfed trwyth y dail a'u rhoddi hwythau yn blastr neu bowltis yn allanol ar y lle dolurus; y maent hefyd yn dda i dynu cleisiau o'r enawd ar ol codymau neu ymladdfeydd, neu ryw ddamweiniau ereill, ac hefyd i attal gwaed o friwiau, pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol y b'ont. Y mae y dail hyn yn cael mawr ganmoliaeth yn gystal yn drwyth ag yn bowdr, ac y maent yn hollol ddiberygl yn y doluriau a enwyd, a dywedir mai nid aml y maent yn methu eu hiachau hwynt.

---

## *Cudweed.*

Y MAENT yn tyfu mewn lle gwyllt a thywodlyd yn gyffredin yn yr holl wledydd hyn; y maent yn blodeuo yn mis Gorphenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn Awst, ac yn tyfu o dan lywodraeth Venus.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn bur werthfawr, am eu bod yn attal gwaed yn y rhanau tufewnol i'r corph, yn mha ddull bynag y byddo, yn gystal i feibion ac i ferched; y maent yn attal y cyrsiau misol pan y byddont yn dyfod yn ormodol, ac nid oes achos gadael un ddeilen o'r llyfr os gwnaiff beth

mor werthfawr ag attal gwaed mewn mab neu ferch; gwelwn pan gerddo y gwaed i ormodedd mewn mab neu ferch, eu bod yn peryglu eu bywyd. Y ffordd i'w cymeryd, ydyw berwi y dail mewn gwin coch, a'i yfed wedi ei felysu yn dda â siwgr gwŷn; ac y maent yn llawn cystal rhag y clwyf gwaed, ac yn tòri y poen canlynol iddo; y maent hefyd yn gystal i attal gwaed mewn briwiau f'o ar ryw ranau o'r corph; ac os rhowch y dail yn leision ar friw newydd, hwy a'i hiachant yn fuan; ac y maent hefyd yn helpu plant bychain a fyddo wedi briwo eu llen-gig, trwy eu rhoddi ar y lle, ac yfed eu trwyth wedi ei melysu â siwgr gwŷn; ac y maent yn dda ar friwiau newyddion, trwy eu cnocio a'u rhoi yn allanol ar y lle, a hyn a'u gwellha yn fuan. Mae y ddeilen hon yn hollol ddiniwaid, ac yn gwellhau y doluriau a enwyd uchod.

---

### *Water Cresses.*—Berw'r Dwfr.

Chwi a wyddoch yn gyffredin yn mha fath le y maent yn tyfu, sef mewn dwfr sefydlog neu redegog.

*Rhinwedd.*—Mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth y Lleuad, ac yn feddyginiaeth ragorol yn erbyn yr ysgyrfi a phob rhyw anmhuredd yn y gwaed; ac fe ddywedir eu bod yn dda yn erbyn y gareg a'r grafel; mae eu

sug yn dda i olchi y gwyneb pan y byddo yspotiau neu *bimples* yn codi arno, neu ryw ran arall o'r corph yn gystal a'r gwyneb, ac y mae y drwyth gref a wneir o honynt yn iachau hen friwiau. Eu sug wedi ei gymysgu â finegr sydd yn dda i olchi y talcen pan y byddo poen yn y pen o natur cysglyd, yr hyn sydd yn arwydd fod rhyw ddrwg yn magu yn y corph.

---

### *Cuckoo point.*—PIG Y GOG.

Y MAE y dail hyn yn gyffredin yn tyfu agos yn mhob clawdd trwy y gwledydd; maent yn taflu allan eu dail yn y gwanwyn, ac yn para tan o gylch haner yr haf.

*Rhinwedd.*—Mae y dail hyn o dan lywodraeth Mars. Mae eu sug yn dda i rai fyddo gwedi cael gwenwyn; gellir rhoi ychydig o finegr am ei ben i dynu y siarprwydd oddiar y tafod. Y dail gleision sydd dda i'w rhoi ar benddüyn, a'u sug sydd yn glanhau pob math o hen friwiau dyfrllyd a drewedig, a hen dyllau yn gystal a hen friwiau yn mhob rhan o'r corph.

---

### *Dill.*

Y MAENT i'w cael wrth yr enw hwn yn y gerddi. Mae y dail hyn o dan lywodraeth Mercuri, ac am hyny yn cryfhau yr ymenydd; ac fe ddywedir eu bod yn attal y cylla gwan rhag taflu y bwyd, ac yn ei ddychwelyd yn ol.

Mae y drwyth a wneir o honynt yn helpu merched, yn chwalu gwynt o'r rhanau tufewnol, sef gwynt y fam; y ffordd oreu at y dolur hwn ydyw eistedd uwch ben agerdd eu trwyth. Mae eu hadau yn rhagorol o dda i chwalu gwynt, ac i'w ymlid ymaith o'r corph; maent hefyd yn gostwng chwydd, yn enwedig os bydd y chwydd o achos gwynt yn dyrysu yn y corph. Y mae'r hadau yn fwy gwerthfawr na'r dail, yn enwedig i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr, ac felly yn yr holl ddoluriau a enwyd yn flaenorol.

---

*Dragon.*

Y MAENT yn tyfu yn y gerddi, ac o dan lywodraeth Mars: nid wyf fi yn cymhell y dail hyn yn dufewnol, ond y mae eu sug wedi ei gymysgu â finegr yn dda i dynu lliw yr haul a brychni oddiar y gwyneb, i harddu y croen, ac i iachau y cancr, ac amrywiol bethau annymunol a ddichon godi ar y gwyneb neu rhyw le arall o'r corph; y mae y dwfr a ddistilir o honynt yn dda i'w ddyferu i'r llygadau pan y b'ont yn glwyfus, ac fe dyn yspotiau o honynt ac a'u cliria, a thrwy ei fynych roi ynddynt wedi ei gymysgu â siwgr gwyn neu fêl, y mae yn tynu y bysen oddi arnynt.

---

*Thyme.*

Y MAENT yn tyfu yn y gerddi; y maent yn rhagorol o dda i gryfhau yr ysgyfaint, ac nid

oes mo'u gwell yn tyfu i iachau y pâs, a diffyg anadl ar blant, trwy eu gwneyd yn dê iddynt a'i felysu â siwgr candi, a'u rhoddi iddynt yn ddiod; y maent yn dda i ladd y llyngyr, ac yn dda i wragedd i'w cymeryd pan fyddont ar ben eu hamser, i gael myned i'w gwelyau yn esmwyth a buan, ac hefyd y maent yn dyfod a'r ail i lawr; y maent yn cryfhau y galon a'r cylla, ac yn chwalu gwynt, a pha beth a ellwch ddymuno yn ychwaneg; ac y maent mor ddiniwaid fel y gellwch eu cymeryd y ffordd a fynoch heb ofni dim perygl.

---

### *Wood-sorrel.*—SURAN Y GÔG.

Y MAE y dail hyn yn hyfrydu tyfu mewn lleoedd cysgodol, yn mysg coed, ac ar ochrau cloddiau a lleoedd llaith. Y maent yn eu blodau yn Ebrill a Mai.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail bychain a rhinweddol hyn yn tyfu o dan lywodraeth Venus: y maent yn gwasanaethu yn gyflawn holl rinweddau meddygol y Suran ereill, ac hefyd yn llawer mwy helaeth, fel y gwelwch, sef puro y gwaed, a rhwystro pob math o twgr ac anmhurdeb yn y gwaed, ac yn yr holl gorph. Chwi a wyddoch pan y bo'ch cylla yn ddrwg fod yr awydd neu y chwant at fwyd yn darfod, ac ar ol hyny yr ydych chwithau yn rhedeg at y phisygwr i ymofyn rhyw beth i glirio yr

ystumog; ond mi allaf eich cynghori i ddefnyddio y dail hyn, am eu bod fe allai yn eich ymyl yn tyfu yn eich caeau, canys gall y pethau hyn a wyddoch am danynt wneuthur y tro yn gystal a pheth dyeithr, neu o'r hyn lleiaf, ag enwau dyeithr arno fel y galloch fyned yn ddyfnach i'ch poced, ac fe allai yn mhellach oddiwrth feddyginiaeth; ond pa un bynag am hyny, fy nyledswydd i ydyw gosod allan amrywiol a gwahanol rinweddau y llysiau meddygol, a hyny gyda phob gonestrwydd a chydwybod rydd, am fod bywyd dynion yn ymddibynu ar hyny; fel ag y mae llawer o'r dail yn lladd ac yn bywhau, felly gwelwch nad oes dim modd bod yn rhy ofalus i ddyweyd am eu rhinwedd meddygol, ac ar yr ochr arall am eu perygl; er nad oes un math o berygl yn y dail hyn: ond pe bawn yn ysgrifenu y llysieulyfr hwn am danynt oll, ac yn rhoddi iddo ganmoliaeth mawr, ond yn darn-guddio eu rhinwedd oddiwrth fy nghydwladwyr a'm cymydogion caredig yn gyffredinol, cyffelybwn fy hun i lamp heb olew ynddi, neu lantern heb ganwyll ynddi, neu oleu-dŷ ar y môr heb oleuni ynddo, a thrwy y twyll a'r tywyllwch hwnw, gallasai llawer llong fyned yn llongddrylliad; a phe bawn inau yn dylyn y llwybr twyllodrus hwnw, sef rhoi cam-dystiolaeth a cham-farn ar rinweddau y llysiau, gallai llawer golli eu bywydau: ond nis gwnaf fi byth mo hyny, gwell genyf gael fy nghablu gan ychydig o nifer am wneuthur daioni, na chael fy

nghablu gan y wladwriaeth am wneuthur drwg. Ond i ddyfod at y rhinwedd yn fwy manwl, yr hyn a gewch fel y canlyn; y maent yn atal cyfog, pan y b'o y cylla yn rhy wan i gynal yr ymborth, ond yn ei fwrw yn ei ol; ac hefyd yn rhagorol o dda i dori syched mewn clefydon, neu mewn rhyw achos arall; y maent yn gyffredin yn dyferu *oil vitriol* i ddwfr oer i dòri syched mewn clefydon, ond y mae hwnw yn ddrwg ar les y dannedd, ac yn gwneuthur mwy o niwaid i un rhan o'r corph nag y mae yn wneyd o les i'r rhan arall: ond gellwch yn hawdd wneuthur defnydd o'r dail hyn yn yr achos hwn, ac ni niweidiant na'r dannedd nac un rhan arall o'r corph.

Yn allanol, y maent yn dra rhinweddol i wlychu lliain yn eu sug i olchi chwydd coch caled ac afrywiog, i'r dyben i'w oeri ac i ddyfod a'r croen i'w liw; ac y maent yn rhagorol o dda i olchi y genau a'r gwddf, ond gwell a fydd os rhoddwch fêl ac alum ynddo; y mae rhai ereill yn eu cnocio ac yn eu rhoi yn blastr ar ddafad wyllt, neu i dòri anafodydd, ac amrywiol bethau o'r cyffelyb. Y mae y dail hyn yn hollol ddiberygl; gellwch eu defnyddio yn dufewnol fel y b'och yn dewis oreu, naill ai berwi y dail, neu wasgu eu sug a'i gymeryd gyda siwgr.

### *Wood-sanicle.*—Clust yr Arth.

Y maent i'w cael yn gyffredinol mewn lleoedd cysgodol a choediog mewn amrywiol fanau o'r gwledydd hyn, yn nghyda gwledydd ereill hefyd. Y maent yn blodeuo yn mis Mehefin, a'u hâd yn aeddfed yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus; ac y maent yn meddyginiaethu pob math o ddoluriau yn y corph a ddygwydd trwy y blaned Mars: nid oes yn bosibl cael dim gwell dail na'r rhai hyn at feddyginiaethu y dolur a f'o gwedi syrthio ar yr ysgyfaint, hyny yw, pan ag y bo'r ysgyfaint yn dechreu madru a myned yn ddrwg oddi mewn, ac yn llawn cystal at y gwddf, hyny yw i olchi y gwddf â'u sug neu y drwyth, wedi ei gymysgu â mêl ac alum, ac hefyd yn llawn cystal i iachau tyllau a briwiau a fyddo oddi mewn i'r genau ac yn nhaflod y safn. Y mae un rhinwedd da ragorol arnynt, sef atal gwaed oddi fewn i'r corph, ar ba un bynag ai mab ai merch, a pha un bynag ai ysigdod ai codymau a'i damweiniodd iddynt; ac yn gystal at y cyrsiau misol, os bydd angenrheidrwydd am eu harafu; ond yn yr achosion hyn berwch y drwyth yn gref, a melyswch â siwgr gwyn, ac os byddwch yn dewis rhoddwch win coch am ei ben, ac yfwch yn fynych a lled helaeth o hono; y maent yn llawn mor effeithiol yn yr un modd i atal gwaedu o'r genau a'r ffroenau, ac hefyd i atal y rhai sydd yn piso eu gwaed,

ac yn gwaedu yn eu hystôl; ac nid ydynt lai eu heffaith yn holl ddoluriau y bòl, sef i atal rhyddni a phoen yn y bòl, ond gallaf feddwl y gwnant hyn yn well wedi eu berwi mewn gwin coch, a'i felysu â siwgr gwyn; eithr y mae llawer o amgylchiadau yn cyfarfod â dynol-ryw nas gallant gael gwin, ond yr wyf yn cofio darllen yr hanes am ein Iachawdwr bendigedig yn troi y dwfr yn win, ac yr wyf fi yn credu fod yr un gallu yn ei alluog law eto, fel y gall efe rinweddu y dwfr i'r tlawd yn gystal a'r gwin i'r cyfoethog: y mae y dail hyn yn dra rhinweddol i iachau y rhai sydd wedi briwio oddi mewn, sef tòri eu llen-gig, neu ryw beth o'r cyffelyb, trwy gymeryd y drwyth fel y rhag-ddywedwyd yn dufewnol, a rhoi y dail yn allanol ar y lle,—y maent yn llawn mor gyfrifol a'r Cwmphri yn yr achos hwn; ond os byddwch yn dewis, gellwch eu cyd-ferwi, gan fod y ddwy yn tueddu at yr un peth;—ac felly am yr holl lysiau meddygol os canfyddwch eu bod yn gweithio at yr un peth, gellwch eu cyd-ferwi a'u hyfed; ond os na fyddant felly, gallant wneuthur mwy o ddrwg nag o ddaioni; eithr nis cadwaf chwi yn hir yn y tywyllwch, ond mi a'ch dysgaf cyn eich rhoddi i fyny pa fodd i gymhwyso y dail at y doluriau: y maent hefyd yn iachau briwiau newyddion, a gellwch gofio am danynt eu bod yn rhagorol o dda i iachau pob math o ysigdod,—y mae hyn yn gynghor cyffredinol yn ein gwlad at y dolur hwn. Terfynaf fy sylwad ar y ddeilen hon,

gan obeithio y bydd i chwi gael lles oddi wrthi, ac na bydd i chwi dderbyn dim siomedigaeth yn ei rhinwedd.

---

### *Tansy.*

NID oes gwell enw i'w roddi arnynt yn Gymraeg, ac y maent yn adnabyddus wrth yr enw hwn i bawb o'r bron o'r mwyaf hyd y lleiaf, gan hyny nid oes angenrheidrwydd i ddyweyd dim am eu dull, canys y maent i'w cael yn mhob gwlad wrth yr unrhyw enw.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus. Y mae dwy fath o honynt, sef y rhai gwylltion a rhai y gerddi; a chan fod y ddwy o dan lywodraeth Venus, ac wedi eu canfod allan yn feddyginiaeth gyflawn yn holl ddoluriau merched, ac fel pe byddent wedi eu gwneuthur yn hollol ar eu medr, y maent yn un o'r ffryndiau goreu a all fod ganddynt, heblaw eu gwŷr priod; a chwi a gewch rinwedd y rhai sydd yn tyfu yn y gerddi fel y canlyn;—Y maent yn blodeuo yn misoedd Mehefin a Gorphenhaf. Y mae y dail hyn wedi eu cnocio a'u rhoi yn blastr ar y bogel yn rhwystr i ferched fisgario, ac y mae y cynghor hwn yn fwy ei werth na phris y llyfr i gyd; ac os byddwch yn dewis, gellwch eu berwi mewn diod fain neu ddwfr, a'i yfed yn fynych; ac os bydd y groth yn afiach ac annymunol, yfwch y drwyth hon, ac fe a'ch gwna yn iach: gall y gwragedd sydd yn dewis bod ganddynt blant

garu wneuthur defnydd o'r dail hyn ; y mae y drwyth a wneir o honynt, neu eu sug, a'i yfed, yn dda i'r rhai sydd yn methu a gwneuthur dwfr, ac hefyd i'r rhai sydd yn rhy wan i ddal eu dwfr, ond yn ei wneuthur yn rhy fynych; y mae y dail hyn yn dda i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr, trwy eu cnocio a'u rhoi yn fynych o dan y ffroenau, fel ag y gellir cymeryd arogl gref oddi wrthynt, a hyn hefyd sydd yn dda i godi y doluriau esgor, ond peidio a'i wneuthur hyd nes y bydd y plentyn ar ei daith i'r byd trafferthus hwn; ond os bydd y doluriau yn arafu, ac eisiau eu codi wrth drefn natur, gadewch i'r wraig lafurus ddal y dail hyn, wedi eu cnocio, yn fynych o dan ei ffroenau, a hyn a gynydda y doluriau; gellir hefyd eu rhoddi wrth waelod y bol, ond anhawdd yn yr amser hwnw ydyw gwneuthur fawr o ddaioni yn y modd hwn, am nas gellir eu rhoddi i sefyll yn y caledi hwnw, gan hyny mi a'ch cynghoraf i wneuthur yr un modd ag y gwnaethum i fy hun, a hyny gyda llwyddiant mawr, sef dal y dail o dan y ffroenau pan y bydd y doluriau yn arafu, i'r dyben o'u cyflymu: ac yn mhellach eto, y maent yn dda i ladd y llyngyr ar blant.

---

## *Spleenwort.*—Llysiau y Ddueg.

Y maent yn tyfu ar benau gwaliau cysgodol a lleithion. Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn.

*Rhinwedd.*—Y maent yn cael eu defnyddio yn llwyddiannus yn holl ddoluriau y spleen; y maent yn tori y colic a'r spleen, a dywedir eu bod yn difa y gareg yn y chwysigen, ond nis gwn i ddim pa un, ac nid wyf fi yn cadarnhau dim oni wybyddaf beth am dano; gellwch eu cymeryd yn llwyddiannus i iachau y clwyf melyn, ac nid wyf yn ameu llai na wnant hyny, am fod y clefyd hwn yn cyfodi yn aml oddiar ffaeledd y spleen; dywedir fod trwyth y dail yn attal yr îgian, trwy ei hyfed: geill merched adael llonydd i'r dail hyn, os gwelant yn dda, am fod eu sug yn rhwystro iddynt blanta, medd rhai awdwyr llyfrau; y mae y drwyth a wneir o honynt, yn gwellhau yr holl ddoluriau a elwir melancoli, canys y mae y rhai hyn yn chwannog o godi oddiar y spleen; y maent yn dda i lanhau y corph oddiwrth y *french pox*, pan ag y b'o yr *humour* ddrwg yn taenu dros yr holl gorph, yn gwaethygu y *frame* ddynol, yn anmhuro y gwaed trwyddo oll, ac yn gwneuthur eu enawd yn hollol afiach, ac hefyd eu plant a phlant eu plant, O! na welai dynion eu ffolineb fel y parchent eu enawd eu hunain yn hytrach na mwyniant pechod dros amser. Y mae yr anhwyldeb hwn yn y corph yn aml yn magu y melancoli, heblaw y pethau a enwyd: da a fydd i'r rhai sydd yn cael eu blino gan wynt y spleen arferyd eu hunain yn fynych i yfed o honynt, ac i'w defnyddio yn allanol ar yr ochr lle bydd y spleen yn eu blino.

*Soapwort.*—SEBONLYS.

Y MAENT yn tyfu yn wylltion mewn tiroedd llaith ac isel, yn agos i afonydd rhedegog, yn gyffredinol trwy yr holl wledydd.

*Rhinwedd.*—Maent o dan lywodraeth Venus. Mae pobl y wlad yn gyffredinol yn eu hel ac yn eu cnocio i'w rhoddi wrth eu bysedd, eu dwylaw, a'u coesau, pan ag y byddont wedi tori haciau neu friwiau arnynt, i'r dyben i'w croeni a'u hiachau yn fuan; y mae rhai yn bostio eu bod yn dda i iachau y grafel ac i dreulio y gareg, ond nis gwn i ddim am danynt ond yn unig o ran hanes, eithr yr hyn sydd yn dyfod trwy brofiad ydyw yr hanes goreu; ond pa un bynag am hyny, y maent yn iachau y pox, sef y *french pox;* gallwn benderfynu y gall hyny fod yn wir, am eu bod o dan lywodraeth Venus, a chan mai hi sydd yn llywodraethu y dolur hwn, ac mai trwy ei hawdurdod hi y mae dynolryw yn cael y clwyf anghariadus hwn, trwy rinwedd y llysiau meddygol sydd yn tyfu o dan ei llywodraeth y mae ei iachau hefyd; er fod hyn yn ymddangos yn dywyll i lawer, eto felly y mae, ac nid yn unig am y dolur hwn, ond hefyd am yr holl ddoluriau ereill;—os yw y dail yn gymhwys feddyginiaeth at y pen, ni wnant mo'r tro at y traed, ac felly am y lleill, ac yn y modd hwn y cewch eich dysgu. Gellwch eu berwi mewn diod fain neu ddwfr, a'i yfed hwyr a bore, yr hyn sydd yn feddyginiaeth dda i'r doluriau a enwyd.

## *Speedwell.*—Llysiau Llywelyn.

Dail bychain ydyw y rhai hyn, ac y maent yn tyfu mewn porfeydd gwylltion, ac hefyd yn y morfeydd; y mae eu coesau o gylch chwech neu wyth modfedd o hyd; eu dail sydd fyrion ac yn rhyw beth yn gafniog neu bantiog oddi mewn; nid ydyw eu gwraidd yn tyfu yn syth-ion, ond yn ymdaenu ar hyd y ddaear; y mae eu dail o liw gwyrdd gwan, ac yn rhyw beth yn flewog ac yn fylchog o'u hamgylch, a'u blodau ydynt o liw glas.

*Rhinwedd.*—Y mae rhai yn barnu eu bod yn tyfu o dan lywodraeth Venus, ond nid wyf yn cadarnhau y peth. Y mae y dail hyn yn well yn îr nag wedi gwywo, os byddwch am wneuthur defnydd o honynt yn erbyn y grafel a phoen yn y cefn,—yn yr achos hwn rhaid eu berwi yn drwyth cref, a'i hyfed yn helaeth ac yn fynych; gellir eu berwi mewn dwfr a'i felysu â mel; y mae yn agoryd attalfeydd y dwfr, a'r gareg, sef y grafel; y maent yn barnu eu bod yn iachau y *gout*, ond nis gwn i ddim am danynt o berthynas i hyny; y maent yn tynu ymaith y dail oddiar y coesau, ac yn eu cynhauafu a'u gwerthu yn y marchnadoedd i'w gwneyd yn dê; gallwn feddwl wrth hyn eu bod yn hollol ddiberygl, gan eu bod yn eu hyfed yn Lloegr i'r fath raddau nes y mae yn achos o lymhau y wlad o honynt am lawer o filldiroedd oddi amgylch Llundain, am eu bod mor ddefnyddiol

yn dê: ond nis gallaf ddyweyd dim llawer am danynt, am fy mod yn gwybod fod llawer o rai gwell, yn fy meddwl i, yn y llyfr hwn o'ch blaen.

---

### *Sundew.*—Chwys yr Haul.

Y maent yn tyfu yn gyffredinol mewn lleoedd lleithion, corsydd, a choed-dir lleithion. Y maent yn blodeuo y mis Mehefin, a dyma yr amser goreu i'w hel.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth yr Haul, ac yn arwydd y Crane. Y maent yn cael eu cyfrif yn dda i attal y dwfr hallt sydd yn dyferu i'r ymenydd, neu o'r pen i lawr ar yr ysgyfaint, yr hyn yn gyffredinol sydd yn achosi dechreuad y darfodedigaeth, am hyny y maent yn rhagorol o dda yn y dolur hwn trwy eu berwi mewn gwin a dwfr, ac yfed y drwyth a wneir o honynt; ac fe ddywedir hefyd fod y ddiod yn dda yn holl ddoluriau y frest, sef y peswch, gwichian, a diffyg anadl, ac hefyd i wellhau y tyllau neu'r briwiau a ddichon fod yn yr ysgyfaint,—gellir barnu wrth y poer a fyddoch yn ei daflyd i fyny, os bydd yr ysgyfaint yn ddrwg a llygredig, neu yn madru. Y maent hefyd yn cysuro y galon a'r meddyliau isel, ac yn cilio gwasgfeuon; os cnociwch y dail a'u rhoi ar y croen, y maent yn ei blistro, am hyny, y mae rhai yn dal allan eu bod yn beryglus i'w cymeryd oddi

mewn, ond y mae llawer o lysiau yn plistro yn allanol yn yr un modd, ac eto yn cael eu defnyddio yn dufewnol gyda llawer o les, ac felly y mae y dail hyn yn cael eu defnyddio yn llwyddiannus, heb ddim perygl, yn y dolur-iau a enwyd.

---

*White Maiden Hair.*—GWALLT Y FORWYN.

Y MAE y dail hyn yn adnabyddus gan blant, o gylch amryw bentrefydd, wrth yr enw Gwallt y Ladies. Y maent i'w cael mewn amrywiol fanau yn y gwledydd hyn; ac y maent yn aros yn wyrddleision trwy y gauaf, yn gystal ag yn yr haf.

*Rhinwedd.*—Y mae y rhai hyn, yn nghyda Gwallt y Forwyn cyffredin, o dan lywodraeth Mercuri; ac y mae eu rhinweddau yr un, fel y gallaf wrth ddyweyd am y naill arbed y boen i ddyweyd am y llall. Y mae Gwallt y Forwyn, wedi eu berwi a'u melysu â mêl, yn gwellhau y peswch a'r diffyg anadl; ac fe ddywedir eu bod yn iachau y clefyd melyn a holl ffaeledd y spleen; ac os ydyw eu bod yn iachau y clefyd melyn yn wir, gallaf benderfynu eu bod yn gwellhau holl ffaeledd y spleen, oblegyd eu bod yn dwyn rhyw berthynas â'u gilydd; y maent hefyd yn dyweyd eu bod yn help i dori y gareg, ac i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr pan ag y b'ont wedi rhwystro, ac hefyd yn stopio taflu i fyny o'r cylla, ac yn

attal rhyddni yn y bol; ond at y gorchwyl hwn, sylwch fod yn rhaid i'r dail gael eu cynhauafu, canys os byddant yn leision y maent yn rhyddhau y corph, ond wedi eu cynhauafu y maent yn rhwymo y corph;—felly os i rwymo y corph y byddwch yn eu cymeryd, rhaid i chwi eu cynhauafu a'u melysu â siwgr gwyn: ac ar yr ochr arall, os i ryddhau y corph, cymerwch drwyth o'r dail yn leision, gan ei melysu â siwgr coch neu driagl: y maent yn gwellhau yr ysgyfaint, ac yn dyfod a lliw da ar y croen dros y corph. Chwi a welwch fy mod wedi cymysgu rhinwedd y ddwy ddeilen, ond nid ydyw hyny yn uno dim â'm natur wrth ysgrifenu am rinweddau y dail, eithr yn gymaint a bod ereill wedi ysgrifenu felly o'm blaen, dylynais inau eu camrau am y tro hwn.

Y maent yn dda i ryw beth yn allanol hefyd, sef i'r rhai sydd yn colli eu gwallt, ac eisiau ei dewychu arnynt, ac i ddyfod ag ef i liw da a chlir, yr hyn a wneir drwy olchi eu penau â'r drwyth a wneir o honynt; ac yn yr un modd y maent yn iachau pob math o grach gwlybion a ddichon fod ar y pen: y maent yn iachau pob math o ffaeledd yn y pen, a'r gwallt.

### *Liquorice.*

Y MAE y rhai hyn yn tyfu yn wylltion yn y caeau, ond yn fwyaf cyffredinol y maent yn cael eu dwyn i fyny yn y gerddi; ond rhaid i chwi gymeryd y drafferth i chwilio am danynt; eithr y gwreiddyn ydyw y rhan oreu o'r llysieuyn hwn, a'r rhei'ny i'w cael ar werth yn siop y *Druggist*, sef y rhai sydd yn gwerthu cyffuriau meddygol. Y m: e y gwraidd wed eu berwi mewn dwfr, a Gwallt y Forwyn gyda hwy, a'i felysu â siwgr candi, a'i fynych yfed yn gynhes, yn rhagorol o dda rhag y peswch sych, gwichian, diffyg anadl, a'r darfodedigaeth: y maent hefyd yn dda i'r rhai ag y mae eu dwfr yn llosgi wrth ei wneuthur.

---

### *Lily of the Valley.*—LILI'R DYFFRYN.

Y MAENT yn tyfu mewn amrywiol fanau yn y gwledydd hyn, ac yn blodeuo yn mis Mai, a'u hâd yn aeddfed yn niwedd yr haf.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Mercuri, yr hyn yn ddiamheuol ydyw yr achos eu bod yn cryfhau ac yn cadarnhau y côf a'r synwyrau gweiniaid; yn yr achos hwn berwch y dail yn drwyth gref, ac yfwch o honi yn fynych; y mae y dwfr a ddistilir o'r dail neu y sug yn dda i'w ddyferu i'r llygaid i'r dyben i wisgo y bysen, ac i wellhau y llygaid dolurus a chochion.

## *Parsnips.*—LLYSAU GWYNION Y GERDDI.

Y MAE rhai gwylltion o'r enw hwn; ond am y rhai sydd yn tyfu yn y gerddi nid wyf ddim am eich blino hefo y dull o honynt am eu bod yn tyfu yno, ac yn adnabyddus i bawb; a phe gwnawn ymdrafferthu i ddyweyd am ddull y rhai gwylltion, mae'n debygol na chymerech mo'r drafferth i chwilio] am danynt, am hyny chwi a gewch rinwedd Llysau y Gerddi fel y canlyn:—

*Rhinwedd.*—Y mae Llysau y Gerddi yn rhagorol o dda i faethu y corph, ac yn chwanegu yr hâd naturiol yn y corph, ac y maent yn gweithredu yn y modd hwn am eu bod o dan lywodraeth Venus, eanys y mae y blaned hon yn dwyn rhyw berthynas yn wastadol â'r natur ddynol; ond y maent yn rhywbeth yn wyntog: y maent yn help i wneuthur dwfr, ac yn tòri poen yn yr ystlysau. Y mae y rhai gwylltion o honynt yn fwy eu rhinwedd mewn phisygwriaeth, os medrwch eu cael; ond pa un bynag am hyny, y mae digon yn y llyfr o rai hawdd i'w cael, ac atebant yr un dyben yn llawn cystal os nad gwell: y gwraidd a'r hadau sydd yn cael eu defnyddio yn fwyaf neillduol. Nid oes dim perygl mewn un rhan o honynt; gellwch eu berwi a'u bwyta fel ag y byddoch yn dewis, pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol, ond i chwi eu cymeryd wrth eich rheswm.

### *Fig Trees.*—Coed Ffigys.

Y maent yn tyfu o ran eu naturiaeth yn y gwledydd tramor, eto hwy a lwyddant yn burion yn ein gerddi, ac yn y gwledydd hyn; y maent yn fwy defnyddiol mewn phisygwriaeth nag ydynt o ran eu ffrwyth.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter; y mae'r llaeth sydd yn dyferu o honynt pan ag y tòrir hac ynddynt yn iachau y defaid a fyddo ar y dwylaw neu ryw le arall; y mae y drwyth a wneir o'r dail yn iachau crach a fyddo yn y pen, wrth ei olchi yn fynych â hi, ac y mae yn un o'r pethau goreu, meddynt hwy, sydd i'w cael at olchi y gwahanglwyf, trwy eu defnyddio yn yr un modd ag y rhag-ddywedwyd; y mae hefyd yn clirio y gwyneb a'r croen o'r holl grach a phob math o sgrwff a ddichon fod hyd y croen; a'r eli a wneir o'r coed gyda bloneg sydd yn dda i iachau y llosg eira; a'u sug sydd yn dda i'w roddi mewn twll a fyddo yn y dant i dòri y boen yn y clustiau, ac i helpu y clyw os bydd wedi trymhau; y mae'r sug hefyd yn gwneuthur eli da i iachau brathiad ci drwg, neu ryw fwystfilod gwenwynig ereill. Y mae rhai yn dal allan fod bwyta llawer o'r ffigys yn gwneuthur y rhai a'u bwytant yn lleuog; ond pa un bynag am hyny, chwi a welwch mai yn allanol y sylwais i arnynt, canys nid wyf fi yn gweled fod yn iawn cymysgu gormod ar bethau yn dufewnol ac yn allanol.

### *Oak.*—DERW.

Y MAE y coed hyn yn adnabyddus i bawb, fel nad oes dim angenrheidrwydd i ddyweyd am eu dull.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Jupiter; y mae y cnapiau sydd yn tyfu ar frigau y coed hyn, sef y mês, yn attal rhyddni a chlwy'r gwaed, yn rhwymo y corph mewn pob math o ryddni, ac yn attal y cyrsiau misol, ac hefyd yn attal y rhai sydd yn dueddol i ymadael a'u hâd naturiol yn eu cwsg, neu rhyw ffordd arall, rhag gwneuthur hyny; fe ddywedir fod y cnapiau sydd yn tyfu ar y derw wedi eu powdro, a chymeryd y powdr mewn gwin, yn helpu y grafel; y mae y rhisgl agosaf i'r pren yn dda i'w falu a'i gymysgu â siwgr gwyn yn erbyn poeri gwaed; y mae y drwyth a wneir o'r mês a llefrith yn lladd effaith gwenwynig dail neu ryw phisyg arall, ac hefyd yn lladd effaith gwybed Spaen, sef y *Spanish flies;* y mae y drwyth a wneir o'r dail yn gweithio i'r un pwrpas.

---

### *True Love.*—PEDAIR DALEN.

MAENT yn gyffredin yn cael eu dwyn i fyny yn y gerddi, ond y maent yn tyfu yn wylltion mewn amrywiol fanau yn y gwledydd hyn, sef mewn cornelau caeau a chydag ochrau cloddiau a llwybrau, ac mewn lleoedd coediog,

yn nghydag amrywiol fanau ereill; ond y ffordd ddyogelaf ydyw eu cael yn y gerddi, ac y maent yn werth chwilio am danynt, os ydynt yn gyflawn cystal ag y mae awdwyr wedi ysgrifenu am danynt. Y maent yn tarddu allan yn mis Ebrill, ac yn eu blodau yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus. Y *berries*, sef y cnapiau sydd yn tyfu arnynt, ydyw y rhan fwyaf rhinweddol o honynt; y maent yn gweithio yn dra llwyddiannus ac awdurdodol yn erbyn gwenwyn o bob natur a ddichon niweidio y corph, ac yn gystal yn erbyn y pla a phob rhyw afiechyd a geir o'r awyr neu o'r dwfr. Y mae Mathiolus yn cadarnhau fod rhai gwedi gorwedd yn hir mewn nychdod ac afiechyd corphorol, ac yn ol barn dynion yn anfeddyginiaethol, wedi cael cyflawn iachad wrth gymeryd y dail hyn, a'u dychwelyd yn ol o stâd o ddarfodedigaeth a gwendid corphorol, i fwynhau stâd o berffaith iechyd; ac y mae yr un awdwr eto yn ailadrodd fod rhai gwedi eu gwellhau ar ol bod yn hir nychu, ac yn ymddangos megys haner gwirion, a hyny o herwydd swyn-gyfaredd, wrth gymeryd un dram o'r powdr a wneir o'r hadau, neu o'r *berries*, a'i gymeryd unwaith yn y dydd am ugain niwrnod nesaf i'w gilydd; fe ddywedir fod hyn wedi eu dychwelyd yn ol i'r un iechyd ag oedd ganddynt o'r blaen, er mawr syndod i lawer o'u hamgylch. Ond pa un bynag am hyny, mi a gymeraf yn gynil ar y pen hwn, am fod y rhan fwyaf o'n gwladwyr

yn gwadu y cyfryw beth, ac yr wyf finau yn dewis bod yn ddidramgwydd i bawb, a chadw fy meddwl i mi fy hun. Y mae y powdr hefyd a wneir o'u gwraidd, a'i gymeryd mewn gwin, yn tóri poen y colic yn y bol gyda brys; nid oes dim perygl ynddynt; gellwch gymeryd llonaid llwy dê o'u gwraidd wedi eu malu yn llwch. Yn allanol, y maent yn iachau briwiau hen a newydd, trwy eu golchi â'u trwyth, neu roi eu powdr ar y briwiau; y maent hefyd yn gostwng chwydd yn y *privates*, sef y rhanau dirgelaidd, trwy eu golchi â'r drwyth a wneir o'r dail hyn. Cedwch blant rhag bwyta eu blodau, na'r hadau neu y cnapiau, am nad ydynt yn ddiberygl.

---

## *Lovage.*

Mae y dail hyn yn tyfu yn y gerddi, ac i'w cael wrth yr enw hwn gan y rhai sydd yn trin gerddi. Maent yn blodeuo yn niwedd mis Gorphenhaf, ac yn hadu yn Awst.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth yr Haul, a than arwydd y Tarw. Y maent yn awdurdodol ac effeithiol i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr, ac hefyd i helpu gwneuthur dwfr pan b'o rhai yn ei wneuthur yn rhy brin: mae haner dram o'r gwraidd mewn gwin yn ddigon i'w gymeryd; ac y mae hyny o honynt yn poethi y frest a'r cylla, pan y b'ont yn oer, ac yn helpu y cylla

pan y byddo yn rhy wan i dreulio y bwyd trwyddo, ond gyda phoen yn sefyll yn y cylla hyd nes y teflir ef allan. Y maent yn cael eu cymhell yn erbyn pob math o ffitiau o'r cryd, sef yr *acsis*, ac i leddfu poen yn y corph, yr hyn a geir trwy oerfel. Y mae yr hadau hefyd yn dda yn yr hyn a enwyd uchod, sef oerfel; ac y mae'r dwfr a ddistilir o honynt yn dda i olchi y gwddf, pan ag y b'o yn cael ei flino gan y *spinagl*, neu ryw ddolur arall yn y gwddf; y mae hefyd yn iachau llygadau clwyfus, dolurus, a chochion, trwy eu golchi âg ef; y mae y dwfr hwn hefyd yn eu clirio ac yn eu sirioli pan y b'ont yn ddwl a'r golwg yn pallu; mae'r un dwfr hefyd yn tynu pob math o anharddwch a chochni oddiar y gwyneb, ac yn harddu y croen. Rhostiwch y dail yn leision mewn bloneg, a rhoddwch hwynt ar benddüyn, neu ryw anafod arall, a hyn a'i tŷr yn fuan.

---

## *Madder*.—Y Wreiddrudd.

Y maent yn cael eu meithrin a'u magu mewn gerddi yn gyffredinol: eu defnyad penaf, heblaw meddyginiaethu, yw i liwio; ond nid wyf am gyffwrdd â dim ond y rhinwedd meddygol sydd yn perthyn iddynt.

*Rhinwedd*.—Maent o dan lywodraeth Mars: maent yn feddyginiaeth anffaeledig, meddynt, yn y clefyd neu y clwyf melyn, a chan hyny yn agoryd attalfeydd y spleen, yn ei wellhau

o'i amrywiol ffaeledd, ac yn iachau yr *humour* sydd yn magu yn y melancoli, ac hefyd yn dda yn y polsi: mae y gwraidd i'w berwi mewn gwin neu ddwfr, fel y byddo natur y dolur yn gofyn, a'i yfed yn fynych, yn dda at yr holl ddoluriau a enwyd uchod; ond cofiwch roi siwgr a mêl ynddo ar ol ei ferwi. Yn allanol, maent yn glanhau y croen ac yn tynu marciau a chleisiau oddi arno: mae y dail a'r brigau yn dda i'w berwi yn drwyth gref, i ferched eistedd uwch ben eu hagerdd i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr pan y byddont wedi attal.

---

## *Orpine.*

MAE y dail hyn yn fwyaf cyffredin yn cael eu dwyn i fyny mewn gerddi, am eu bod yn tyfu yn fwy nerthol a ffrwythlon, ac yn hyfrydu bod mewn lle cysgodol, yr hyn sydd yn gyffredin mewn gerddi. Maent yn blodeuo yn mis Gorphenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth y Lleuad. Maent yn cael eu defnyddio yn Germany at amrywiol ddoluriau tufewnol, sef y frest, y bol, yr iau, a'r ysgyfaint; ond nid ydynt yn cael eu defnyddio at un math o ddoluriau tufewnol yn ein gwlad ni, ac nid wyf finau yn dewis eu cymhell i'm cydwladwyr, am fy mod yn gweled rhai doethach na myfi yn fud yn nghylch eu rhin-

wedd yn dufewnol; er hyny gallant fod yn ddiberygl am ddim ar a wn i: ond y mae digon o rai ereill yn y llyfr hwn fe allai yn fwy defnyddiol, am hyny awn yn mlaen gyda'u rhinwedd yn allanol. Mae y dail hyn yn cael eu defnyddio i oeri pob math o ddolur rhy wresog, coch, ac afrywiog; gan eu bod yn tyfu o dan lywodraeth y Lleuad, y maent yn eu natur yn oer yr un fath a hithau, ac felly y maent yn addas feddyginiaeth i oeri pob math o ddoluriau a fyddo yn rhy wresog: ond pe byddai y dail hyn o dan lywodraeth yr Haul, byddent yn boeth yn eu natur, yr un fath a'r haul, ac felly yn hollol groes i ddoluriau a gormod o wres ynddynt; ond ar yr ochr arall yn addas feddyginiaeth i ddoluriau sydd yn rhy oerion ac eisiau eu gwresogi: gwelwch yr angenrheidrwydd o beidio a bod yn rhy fyrbwyll wrth wneuthur diod ddail, rhag i chwi wrth adeiladu un rhan o'r babell dynu y rhan arall i lawr, a'r drwg olaf yn waeth na'r cyntaf. Y mae y dail hyn yn dda i iachau y rhai fyddo wedi ysgaldian â dwfr poeth, ac yn iachau llosg tân, a phob math o enynfa gwresog yn y cnawd, trwy roddi y dail ar y lle, neu eu berwi mewn saim a'i straenio trwy liain, ac iro y dolur âg ef. Ond y ffordd oreu at losg tân, a'r lle fyddo wedi ei ysgaldian, yw cymeryd sug y dail, a'i gymysgu yn dda gyda *salad oil*, ac â phluen, neu ryw beth arall a fyddo yn gyfaddas i'r gwaith, eneiniwch y lle dolurus âg ef. Y maent hefyd yn dda

wedi eu cnocio i'w rhoi ar friwiau newydd a fyddo ar ddwylaw, neu ar goesau, fe ddywedir y gwellant yn fuan; ac y maent yn dda i'w rhwymo oddi amgylch y gwddf i wellhau y spinagl: ac at chwydd coch ac eisiau ei oeri, os bydd y croen yn gyfan, berwch y dail a golchwch y cochni â'r drwyth yn fynych.

---

## *Yellow Flag.*—GELLHESG.

Y MAE y dail hyn yn tyfu mewn conglau gwlybion, a dwfr sefydlog, ac mewn gweirgloddiau; maent yn blodeuo yn mis Gorphenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth y Lleuad, fel y mae y rhan fwyaf ag sydd yn tyfu mewn lle dyfrllyd a gwlyb. Fel y mae y rhai hyn yn sychion ac yn oerion yn eu natur, y maent yn attal pob math o ryddni yn y bol, yn attal clwyf gwaed, ac hefyd yn attal gwaedu o'r genau a'r ffroenau, a phob rhan arall o'r corph, sef y rhanau tufewnol: y maent yn gystal i ferched ag i feibion yn yr achos hwn: gellwch ferwi y blodau a'r gwraidd, a melysu y drwyth â siwgr gwyn, a'i hyfed yn fynych at yr achos a enwyd, sef i attal y gwaed. Y mae yr eli a wneir o'u blodau yn rhagorol o dda i iachau gwrcs a chrach a fyddo yn tori allan ar y gwyneb; a'r dwfr a ddistilir o honynt sydd yn dda i iachau llygadau cochion a dolurus, trwy ei ddyferu iddynt, a gwlychu-

lliain wedi ei ddyblu, a'i roddi arnynt, a'i newid fel y sychont, a hyn a'u hoera ac a'u hesmwytha: y mae yr un dwfr yn dda i'w ddefnyddio yn yr un modd i ostwng chwydd yn y coesau neu ryw le arall o'r aelodau; ac hefyd yn rhagorol o dda i fab neu ferch, i ostwng chwydd ac i dynu cochni a fyddo o gylch y rhanau dirgelaidd.

---

*Fleawort, Fleabean.*—CHWEINLLYS.

Y MAENT yn tyfu yn y gerddi yn gyffredin, ac yn wylltion hefyd mewn eaeau sydd yn agos i'r môr; maent yn eu llawn nerth yn Gorphenhaf, neu o gylch hyny.

*Rhinwedd.*—Mae y dail hyn yn oer ac yn sych yn eu natur, ac oddiwrth hyny fe fernir eu bod dan lywodraeth Sadwrn. Y mae eu hadau wedi eu ffrïo yn dda i atal rhyddni yn y bol. Y mae yn dygwydd weithiau y bydd gormod o gynhwrf yn yr ymysgaroedd ar ol cymeryd *purge* yn rhy helaeth, neu ei gymeryd yn rhy gryf, yr hyn sydd yn gwneuthur ar amserau lawer o niwaid, yn enwedig i gorph gwan; ond fe ddywedir i mi fod y dail hyn yn eu gwellhau yn fuan: ond meddyliwn y byddant yn well wedi eu melysu â siwgr gwyn ac ychydig o win coch. Maent yn dda i dynu crygni o'r frest a'r gwddf, ond eu gwneuthur yn ddrwyth lled gref, a'i melysu â siwgr candi, ac yfed o honi amrywiol weithiau yn dydd;

mae hefyd yn cryfhau yr ysgyfaint yn rhagorol o dda. Y mae y dail hyn yn helpu pob math o enynfa, sef gwres a chochni yn mhob rhan o'r corph, ac yn tòri y boen sydd yn ei ddylyn, trwy olchi y lle yn allanol â'u trwyth; ac hefyd yn dda i helpu pob math o boen yn y cymalau, a phoen y gowt yr un modd. Maent yn dda i iachau plant bach a f'o wedi tòri eu llen-gig, trwy eu gwneyd yn blastr, a'u cymysgu âg oil rhoses a finegr, a'i roi yn allanol ar y lle dolurus. Y mae eu sug yn dda i'w ddyferu i'r clustiau i atal iddynt redeg, i ladd y pryfaid f'o ynddynt, ac i'w hiachau.

---

### *Hart's Tongue.*—Tafod yr Hydd.

Y mae hon yn wastadol o liw gwyrddlas, er ei bod yn cael dail newydd bob gwanwyn.

*Rhinwedd.*—Jupiter sydd yn hòni hawl i'r ddeilen hon; gallwn benderfynu ei bod yn dda i wellhau holl fiacledd yr iau, i gryfhau y lle sydd yn wan, ac hefyd i esmwythau y lle dolurus. Y mae yn werth cadw *syrup* o honi yn eich tai trwy y flwyddyn. Maent yn dyweyd fod y dail hyn yn leision trwy'r flwyddyn, ond prin yr wyf yn coelio hyny; ond pan y b'ont felly ac yn llawn nodd, ni chewch ddim siomedigaeth yn eu rhinwedd. Y mae'r *syrup* a wneir o honynt yn cael ei gymhell yn rhagorol o dda yn erbyn caledrwydd y spleen; am hyny gallwn benderfynu ei fod yn dda yn holl

ffaeledd y spleen yn gystal a'r iau. Fe ddywedir fod y dail hyn yn gwellhau clefyd y gwaed, ond y rhai a'u profasant a fedrant ddyweyd yn well am danynt na mi; ond y maent yn ddiberygl, ac nis gall dim niwaid ddyfod wrth wneyd prawf o honynt: ac os byddwch am wneyd hyny, berwch hwynt mewn gwin coch yn drwyth gref, neu os na fedrwch gael gwin, berwch hwynt mewn dwfr a melyswch â siwgr gwyn, ac yfwch yn helaeth o'r drwyth ddwy neu dair gwaith yn y dydd. Y mae y dwfr a ddistilir o honynt yn dda i atal yr igian, ac i olchi y genau a chig y dannedd pan y b'ont yn gwaedu ac yn ddolurus. Y mae un awdwr wedi dywedyd wrth draethu ar rinwedd y dail hyn, eu bod yn iachau pigiadau a brathiadau nadroedd, trwy yfed y drwyth a wneir o honynt, a'u rhoddi ar y lle dolurus, a'u newid yn fynych; ond yr wyf yn ei weled yn gynghor rhy wael at ddolur mor wyllt a pheryglus.

---

## *Cuckoo Flowers.*—Blodau'r Gog.

Maent yn tyfu mewn gweirgloddiau gwlybion a sychion, ac hefyd yn ochrau y cloddiau; maent yn blodeuo yn mis Mai, a'u hâd yn aeddfed yn Gorphenhaf ac Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Venus, ac yn cryfhau y rhanau tufewnol ac allanol o'r corph ag sydd o dan ei llywodr-

aeth. Y maent yn dda i dòri y gareg ac i wellhau y grafel, a hyny am fod Venus yn rheoli y lwynau, a rhanau ereill o'r corph; ac y maent yn llawn mor effeithiol i attal gwaedu yn y rhanau tufewnol i'r corph, yn enwedig i attal piso gwaed; gellwch gnocio y dail hyn a'u rhoi yn eich ffroenau i attal gwaedlif. Maent hefyd yn iachau y rhai f'o gwedi ysgaldian â dwfr, neu losgi â thân, trwy eu defnyddio yn y ffordd ganlynol:—Cymerwch y dail wedi eu curo a rhowch hwy yn ngwres yr haul am ddeg diwrnod, mewn *salad oil*, yna straeniwch, a defnyddiwch at eich eisiau: neu gellwch ei wneuthur yn eli llosg tân, trwy roddi ynddo yr hyn f'o ddigonol i'w galedu o gŵyr melyn. Mae y drwyth a wneir o'r dail hyn yn dda i ochi traed ar ol taith galed a blinderog, ac hefyd y mae yn dda i'r rhai a f'o wedi briwo y gewyn trwy redeg gormod, neu ryw ffordd arall, ac yn gystal at y cymalau wrth eu golchi â'r drwyth, a rhoi y dail yn blastr ar y lle dolurus; dywedir hefyd fod trwyth o'r dail hyn yn dda i olchi y corph pan y byddo gwres yn tòri allan trwyddo, megys ymgrafu ar blant, neu ryw beth o'r cyffelyb, ac yn iachau crach sychion ar bob rhan o'r corph; mae rhai sychion yn hawsach i'w hiachau na rhai gwlybion, ond gellir eu treio at y rhai gwlybion.

## *Flax Weed.*—Llin y Mynydd, Llin y Tylwyth Teg.

Y mae y dail mân hyn yn tyfu yn yr holl wledydd yma ar fryniau sychion a thyndir, ac yn nghonglau caeau; y maent yn blodeuo yn yr haf, a'u hâd yn aeddfed yn niwedd mis Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Mars. Eu defnydd yn gyffredinol sydd yn hollol adnabyddus i'r rhan fwyaf yn y gwledydd hyn, sef i weithio y corph i lawr pan ag y byddo yn rhwym, trwy eu berwi mewn dwfr a'i felysu â thriagl neu siwgr coch, ac yfed o hono wrth eich rheswm. Y mae amrywiol a gwahanol rinweddau arnynt heblaw yr hyn a enwyd uchod; y maent yn agoryd atalfeydd yr iau a'r ysgyfaint, a thrwy hyn yn iachau y clefyd melyn: fe ddywedir eu bod yn iachau y rhai a f'o wedi cael gwenwyn; ond pa un bynag am hyny, y maent yn helpu merched yn eu harferiad misol, ac yn cynhyrfu ac yn helpu iddynt ymadael â phlentyn marw yn y groth; y maent yn bur gyfaddas i'w cyd-ferwi â dail ereill, sef y rhai a fyddo yn tueddu at yr un fath beth, yn erbyn y dropsi a chwydd yn y bòl; y mae y dwfr a ddistilir o honynt yn dda yn y doluriau a enwyd uchod, ond eu berwi mewn dwfr a'i felysu â thriagl a etyb yr un dyben; fe ddywedir fod eu sug yn dda i'w ddyferu i'r llygaid pan ag y b'ont yn gochion ac yn wresog, ac y mae yn dda i olchi hen friwiau tyllog, canys dywedir ei fod yn eu gwellhau yn fuan.

### *Sweet Marjoram.*

Y MAENT yn tyfu yn y gerddi, ac i'w cael gan bob garddwr wrth yr enw hwn, am hyny ofer yw dywedyd am eu dull. Y mae math o honynt yn tyfu yn wylltion yn y maesydd, y ffosydd, ac amrywiol fanau ereill, eithr nid wyf fi ddim am adrodd am y rhai hyny, ac y mae genyf ddau reswm digonol dros hyny, sef am fod y rhai sydd yn y gerddi yn llawnach o rinweddau meddygol na'r rhai gwylltion, ac y mae y rhai sydd yn y gerddi yn haws i'w cael. Y maent yn blodeuo yn misoedd yr haf.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Mercuri, am hyny y maent yn rhagorol o dda yn holl ddoluriau yr ymenydd, y cof, a'r synwyrau, sef yr holl ranau hyny o'r corph ag sydd o dan yr unrhyw blaned. Y maent yn gynhes ac yn gysurus i'r corph, ac yn rhagorol dda yn holl ddoluriau oerion y pen a'r gewynau, wrth eu cymeryd yn dufewnol at y pen, ac yn allanol i olchi y gewynau a'r cymalau; y maent yn helpu holl ddoluriau y groth, sef y rhai oerion; ac hefyd yn agoryd attalfeydd yr iau a'r spleen, ac yn helpu yr anadl pan ag y byddo yn gaeth; y maent yn dda i helpu y rhai sydd yn methu a siarad; y maent yn dda ragorol yn nechreu'r dropsi, trwy wneyd trwyth gref o honynt gydag ychydig bupur hirion, a'i hyfed wedi ei melysu â mêl; ac hefyd i'r rhai sydd yn methu a gwneuthur dwfr, a phoen yn y bòl, y mae y powdr a wneir o'r dail, a'i gy-

mysgu â mêl, yn llesol; i ddyfod â'r cyrsiau misol i lawr yn eu hamser, berwch yn drwyth gref, a'i melysu â rhyw beth cyfaddas, ac yfed o honi wrth eich rheswm.

Yn allanol, y mae y dail hyn yn tynu pob math o gleisiau a geir trwy ryw ddamweiniau, wrth eu rhoddi ar y lle; fe ddywedir fod eu sug yn dda i'w ddyferu i'r clustiau i dòri y boen ac i attal y swn, yr hwn sydd yn debyg i swn llawer o ddyfroedd, ond nis gallaf ei benderfynu am na chefais erioed mo'r cyfleusdra i'w profi; ond gallant wneuthur daioni i rai, a methu i'r lleill, a'r doluriau yn lled debyg i'w gilydd, ond bod rhai er's mwy o amser na'u gilydd, ac ereill yn waeth na'u gilydd. Y mae y dail hyn yn dda i'w rhoi mewn enaint, sef eli, i iro y cymalau a'r gewynau pan ag y b'ont yn oerion, ac wedi bod allan o'u lle, ac yn chwyddo yn boenus; ac y mae y powdr neu y snuff a wneir o honynt yn dda i'w dŷnu i fyny i'r ffroenau i beri tisian, a thrwy hyny yn tynu y dwfr y sydd yn aros ar yr ymenydd trwy y ffroenau: y mae y dail hyn yn dda i'w cnoi yn y genau i godi y fflems i fyny; ac yn olaf y maènt yn dda i olchi y cymalau pan ag y b'ont yn anystwyth.

---

## *Peach Tree.*

Y MAE y coed hyn yn tyfu mewn gerddi a pherllenydd, trwy yr holl wledydd, yn gyffredinol; am hyny ymofynwch â'r garddwyr sydd yn arfer a thrin gerddi am danynt.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus, a thrwy eu bod o dan eu llywodraeth, y maent yn awdurdodol i wrthwynebu yr holl afiechyd a ddichon fod ar gyrph dynion o herwydd awdurdod Mars, am fod yn wastadol wrthwynebiad yn natur y ddwy blaned y naill yn erbyn y llall. Y mae y dail sydd yn tyfu ar y coed hyn yn rhagorol o dda i'w gwneuthur yn *syrup* gyda siwgr coch, i iachau y clefyd melyn; gall y rhai sydd yn dewis boddhau eu chwantau cnawdol, a dal y natur ddynol mewn nerth, fawrhau ffrwyth y coed hyn; a'r rhai sydd wedi colli eu hiechyd a allant eu mawrhau yn fwy, trwy gymeryd dwy lonaid llwy fwrdd ddwy waith yn y dydd yn erbyn amrywiol ddoluriau, yn enwedig i agoryd y corph pan ag y b'o yn rhwym, ac i gario yr afiechyd i ffordd gyda'r ystôl. Y mae y dail hyn wedi eu cnocio, a'u rhoddi yn allanol ar y bol, yn lladd y llyngyr ar blant, a hwy a wnant hyny hefyd trwy eu berwi mewn cwrw, ac yfed dracht o hono, ac efe a egyr y bol ar yr un pryd; fe ddywedir eu bod yn well at eu berwi ar ol iddynt sychu: y mae y powdr a wneir o'r dail hyn yn attal gwaed o friwiau newyddion, ac yn eu cau i fyny yn fuan: y mae eu blodau wedi bod yn ngwlych tros nos mewn gwin gwyn a'i straenio, ac yfed y drwyth yn y bore, yn dda i weithio y corph i lawr yn raddol, ac heb un math o berygl; y maent yn dda i'r rhai sydd yn cael eu blino gan y grafel, a phoen yn y cefn a'r lwynau: y mae sug y

dail yn dda i olchi y talcen pan ag y b'o poen yn y pen.

---

## *Plums*—Eirin.

Y mae pob math o eirin yn tyfu o dan lywodraeth Venus, ac y maent fel merched, hyny yw, rhai yn dda a rhai yn ddrwg; y maent yn bur wahanol yn eu rhinweddau, rhai yn felus ac yn meddalhau y bol a'r cylla, ac ereill yn sur ac yn caledu a rhwymo y bol; y mae y dail sydd yn tyfu ar y coed yn dda i'w berwi gyda chnap o alum a mêl, i olchi y genau a'r gwddf âg ef, pan ag y b'o yn ddolurus.

---

## *Polypody of the Oak.*

Math o goeden ydyw hon sydd yn tyfu allan o'r ffyrch sydd ar goed derw; eithr y maent yn tyfu ar lawer math o goed heblaw y rhai sydd yn tyfu ar dderw, ond fod y rhai hyn yn fwy cyfrifol yn y ffordd feddygol. Y maent yn leision bob amser, am hyny gellwch eu hel yr amser y mynoch.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn, am hyny y mae eu trwyth yn dda i'w hyfed yn erbyn y melancoli; y ffordd oreu i'w cymeryd yn erbyn yr afiechyd hwn ydyw eu berwi mewn gleision maidd, neu ddwfr, neu mewn potes cyw; y mae yn gofyn purgio 'r corph yn lled drwm cyn y gellir

gweithio yr humour annymunol hwnw i ffordd. Y maent hefyd yn meddalhau caledrwydd y spleen, o ba un y mae y melancoli yn tarddu, trwy ferwi un wns o hono, ac yfed y drwyth ar unwaith; gellwch gymeryd un dram o'r powdr yn y borc, cyn tòri eich newyn, yn erbyn y doluriau a euwyd: y mae y dwfr a ddistilir oddi wrthynt yn cael ei gymhell yn well na'r un o honynt i'w yfed, am amryw weithiau, yn erbyn y cryd, ac yn erbyn breuddwydion sydd yn poeni yr ymenydd mewn cwsg, yr hyn sydd yn tarddu oddiar y melancoli; ac os toddwch siwgr candi ynddo, y mae yn dda rhag pesychu, diffyg anadl, a gwichian yn y frest a'r gwddf, ac fe ddywedir ei fod yn dda i ragflaenu y *decay*, sef darfodedigaeth y corph.

---

## *Cock's Head.*—Pen y Ceiliog.

Y mae y dail hyn yn tyfu yn y caeau, a than ochrau y cloddiau yn gyffredinol; maent yn blodeuo yn mis Gorphenhaf.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus: os gwnewch blastr o honynt yn leision, a'u rhoi ar guapiau a chwarenau a ddichon fod yn magu yn y cnawd o amgylch y gwddf, neu ar ryw ran arall o'r corph, y maent yn eu meddalhau ac yn eu chwalu: ac os sychwch y dail a'u berwi mewn gwin, y maent yn helpu y colic, y fath, tybygaf, a f'o yn codi oddiwrth y grafel. Y maent yn rhagorol o dda

i wartheg i beri iddynt gael cyflawnder o laeth; ac fe allai y byddant yn llawn gystal i ferched a fyddo yn rhy brin o laeth i'w plant wrth eu magu, ond eu berwi mewn gwin neu ddiod fain, a melysu y drwyth â siwgr coch, ac yfed traflwngc o honi yn lled fynych.

---

## *Columbine.*

MAE y dail hyn yn tyfu yn gyffredin yn y gerddi, ac i'w cael wrth yr enw hwn; maent yn blodeuo yn mis Mai.

*Rhinwedd.*—Maent o dan lywodraeth Venus, ac yn cael eu defnyddio yn gyffredin mewn dwfr at iachau y genau a'r gwddf, hyny yw, trwy eu berwi yn drwyth gref, a rhoi cnap o alum ynddi, a golchi y genau a'r gwddf â'r drwyth yn fynych; hyn a'u gwellha yn fuan. Berwch y dail hyn yn dda mewn dwfr, a phan y b'ont wedi berwi digon, rhoddwch atynt ychydig o saffron, yna straeniwch trwy liain, a melyswch â rhyw beth cyfaddas; yfwch yn lled helaeth o'r drwyth yn boeth, a gorweddwch yn y gwely i chwysu ar ei ol, a hyn sydd dda i agoryd attalfeydd yr iau, ac i iachau y clwyf melyn, yr hwn a elwir y clefyd melyn, hyny yw, sef pan y b'o gwyn y llygaid a'r holl gnawd yn melynu, a chwant bwyd yn darfod; gellir gwneyd prawf o'r cynghor hwn, os na wna ddaioni, ni wna ddim drwg. Os gellwch gael yr hadau yn lle y dail, gwell a fyddant;

ac y mae yr hadau yn dda, trwy eu cymeryd mewn gwin, i wraig mewn *travail*, sef ar enedigaeth dyn i'r byd; ac os na fydd y traflwngc cyntaf yn ddigon, gadewch iddi gymeryd un drachefn, ac y mae yn debygol y gwna hyny y tro. Y mae yr Yspaeniaid yn gyffredin yn bwyta darn o'u gwraidd yn y bore, am amrywiol ddyddiau nesaf i'w gilydd, yn erbyn y gareg.

---

## *Medlar.*

Y MAE y coed hyn yn cael eu dwyn i fyny mewn gerddi er mwyn eu ffrwyth, y rhai sy'n debyg i afalau bychain, a'r olwg arnynt fel pe byddent wedi pydru.

*Rhinwedd.*—Maent yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn, ac nid yw ef yn dewis fod blys ar ferched, ond cymhella ffrwyth y pren hwn iddynt i'w fwyta i'r dyben iddynt dòri eu blys; ac y mae ef eto yn pleidio o ochr y merched, gan orchymyn i'r rhai sydd yn dueddol i fisgario wrth gario plant, wneuthur plastr o honynt, sef o'u ffrwyth, pan ag y b'ont yn aeddfed, a chyn iddynt bydru, a'u malu yn llwch, a'i gymysgu â rhywbeth cyfaddas i'r gwaith, sef ystor neu ryw beth o'r cyffelyb, i wneyd iddo lynu fel plastr: y mae hwn yn gynghor cyfaddas a da i'r merched sydd yn dueddol i'r gwendid hwn: rhaid rhoi y plastr ar ledr ystwyth wrth y cefn. Maent hefyd yn dda i attal pob math o waedu oddifewn ar

feibion a merched, ac yn rhwystro i'r merched flysio unrhyw bethau annymunol ac anaddas i'w bwyta pan y b'ont yn feichiog, fel y rhagddywedais, ac nid ydyw dwywaith ddim yn ormod i ail goffau peth mor ddefnyddiol. Y mae y drwyth a wneir o honynt yn dda i ferched i eistedd uwch ben yr ager, i attal y cyrsiau misol redeg yn rhy gyflym: ac hefyd y mae yn llawn cystal i feibion ag i ferched i'w defnyddio yn yr un modd pan y b'o piles arnynt, ac yn gwaedu gormod. Y mae y powdr a wneir o'r dail yn dda i'w daenu ar friwiau newyddion, i attal y gwaed, ac i'w hiachau yn fuan: ac y mae'r ceryg a geir o'u ffrwyth yn dda i'w malu yn llwch, i'w cymeryd ar win i dòri y gareg ac i'w chwalu, fel y gellir cael ymadael â hi gyda llai o boen: gwelwch nad oes dim perygl ynddynt.

---

## *Moss.*—Mwsogl.

Nid oes angenrheidrwydd dyweyd am eu dull, am eu bod yn adnabyddus i bawb o'r bron. Y mae dau fath o honynt, sef un yn tyfu ar goed, a'r llall ar y ddaear.

*Rhinwedd.*—Y mae pob un o honynt o dan lywodraeth Sadwrn. Y mae y mwsogl sydd yn tyfu ar y ddaear yn dda i'w berwi mewn dwfr, a'u rhoi ar le coch poenus, ac hefyd ar y *gout*, i dòri y boen. Y mae y mwsogl sydd yn tyfu ar goed yn dwyn perthynas â'r goeden

y byddont yn tyfu arni, ac os ar goeden dderw y byddant, y maent yn rhwymo y corph, ac yn attal pob math o waedu tufewnol, fel ag y mae natur y dderwen a'i ffrwyth i wneuthur yr unrhyw beth.

---

*Mustard.*—MWSTARD GWYLLTION, MWSTARD Y CLODDIAU.

Y MAE y rhai hyn yn rhagori ar y rhai sydd yn tyfu yn y gerddi; y maent yn gyffredinol yn ochrau y cloddiau, ac yn aml yn y caeau agored, ac yn blodeuo yn mis Gorphenhaf.

*Rhinwedd.*—Meddyliaf fod y dail hyn o dan lywodraeth Mars. Y maent yn dda yn holl ddoluriau y frest a'r ysgyfaint, ac hefyd yn dda at iachau crygni a diffyg anadl pan y b'o y gwynt yn gwichian yn y frest a'r gwddf, a'r llais yn wan ac yn gryg: y mae rhai, meddynt, a gollasant eu llais yn hollol, wedi dyfod i'w llais drachefn trwy yfed trwyth y dail hyn; ond byddai yn well wedi ei melysu â mêl neu siwgr candi, ac yfed yn helaeth o honi, hwyr a bore am enyd o amser; ac y mae eu sug wedi ei ferwi yn nghyd â mêl neu siwgr, yn gymhwys yr un effaith, ond cymerer llai o hono, at y pethau a enwyd uchod; y mae hefyd yn dda yn erbyn y clefyd melyn, a phoen yn y cefn a'r ochrau; cymerwch fel y rhagddangoswyd uchod. Fe ddywedir fod eu hadau yn rhagorol o dda yn erbyn gwenwyn, ac hefyd yn

erbyn poen yn y cymalau. Yn allanol y maent yn dda rhagorol i ostwng chwydd yn mrestiau merched.

---

### *Moneywort.*

AM fod amryw o'r dail heb enwau Cymraeg wrthynt, o herwydd eu bod yn haws i'w cael wrth yr enw Seis'neg, fe ymdrechir i roddi enwau Cymraeg iddynt yn niwedd y llyfr, pan y cesglir yr enwau yn nghyd. Y maent yn tyfu yn ochrau cloddiau, ac yn gyffredinol trwy y gwledydd, yn enwedig mewn lleoedd lleithion, ac ar rai amserau yn nghanol cacau gwelltog.

*Rhinwedd.*—Venus sydd yn awdurdodi ar y dail hyn. Maent yn attal pob math o ryddni yn y corph, pa un bynag ai ar fab ai ar ferch y byddo: maent hefyd yn awdurdodol i attal pob math o waedu o'r rhanau tufewnol, sef y clwyf gwaed a'r cyrsiau misol os byddant yn rhy helaeth, ac hefyd yn gwellhau y cylla pan y b'ont yn weiniaid, ac yn duedol i daflu i fyny yr ymborth a'r ddiod, neu rywbeth arall a gymeroch. Y maent yn rhagorol o dda yn erbyn pob afiechyd yn yr ysgyfaint, ac amrywiol gyffelyb afiechyd, trwy gymeryd eu sug; neu berwch y dail a melyswch â siwgr gwyn; neu gymerwch y powdr a wneir o honynt, i'w yfed mewn dwfr yn yr hwn y bu dur wedi ei boethi a'i oeri ynddo, a gwneuthur hyn amryw-

ol o weithiau yn yr un dwfr, ac yn olaf cymeryd peth o'r powdr ynddo, hwyr a bore, yn erbyn y doluriau a enwyd uchod: gellwch gymeryd llonaid llwy dê o'r llwch, hwyr a bore, am nad oes perygl ynddo; neu gellwch gymeryd y drwyth a wneir o honynt mewn gwin, a'i felysu â siwgr gwyn, yn erbyn y doluriau peryglus a enwyd uchod.

Yn allanol, y maent yn dda i iachau briwiau o bob gradd a natur, trwy eu golchi â'r drwyth a wneir o'r dail, neu â'u sug os gellir ei gael; neu os bydd tyllau dyfnion yn y cnawd, canys y mae briwiau ar rai prydiau yn dueddol i fod yn dyllau dyfnion, os felly y byddant, gwlychwch dent o lint yn sug y dail, a gwthiwch i'r tyllau, a'i drwsio bob nos, neu nos a bore os bydd y dolur yn gofyn: ac at friwiau heb fod yn dyllog, gwlychwch lint neu liain ynddo, a thrwsiwch y briwiau âg ef, a hyny yn lled fynych os bydd y dolur yn ddrwg.

---

## *St. Peter's-wort.*—Llysiau Pedr.

Fe'u gelwir wrth yr enw hwn fel ag y gelwir llysiau St. John ar ei enw yntau; y mae llawer o'r llysiau yn cael eu galw ar enwau seintiau; mae'n dra thebygol mai am iddynt ganfod allan eu rhinwedd y maent yn cael eu galw felly; ond pa un bynag am hyny, nid yw o fawr bwys, ni a ddeuwn at eu rhinweddau.

Y maent yn tyfu mewn coed-tir isel a chysgodol mewn amrywiol fanau yn yn gwledydd hyn; maent yn blodeuo yn misoedd Mehefin a Gorphenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn Awst.

Y maent yn gymhwys yr un rhinwedd a *St. John's-wort*, ond eu bod yn rhyw faint gwanach, ac am hyny yn cael eu defnyddio yn anamlach; gellir cymeryd chwarter wns o'r hâd gyda mêl i ryddhau y corph pan y b'o yn rhwym. Gellwch eu defnyddio yn yr un dull a'r Gantwll, ac at yr un doluriau.

---

## *Pimpernel.*—Llysiau'r Cryman.

Mae y dail hyn i'w cael yn y caeau ŷd, mewn gweirgloddiau, a chydag ochrau'r cloddiau a'r ffyrdd, ac mewn gerddi, ac yn tyfu o honynt eu hunain. Maent yn blodeuo yn Gorphenhaf ac Awst, a'u hâd yn aeddfed yn fuan ar ol hyny, ac yn syrthio i lawr i'r ddaear.

*Rhinwedd.*—Mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth yr Haul; mi dybygaf eu bod i'w defnyddio yn allanol yn fwyaf neillduol. maent yn dda i'w rhoi yn blastr ar bicellau o ddrain neu ddarnau o goed, neu ryw beth o'r cyffelyb a ddichon fyned yn ddamweiniol i'r cnawd; ac hefyd y maent yn rhagorol o dda i'w snuffio fel snisin i fyny i'r ffroenau i dynu dwfr o'r pen ac i buro'r ymenydd; maent yn dda i'w rhoddi ar friwiau i'w sychu ac i'w croeni yn fuan, ac hefyd i lanhau hen dyllau

dyfrllyd, drewedig, a rhedegog. Y mae sug y dail, neu'r dwfr a ddistilir o honynt, yn bur enwog yn Ffraingc, yn mhlith y *ladies*, i olchi y croen âg ef i harddu y gwyneb, i dynu ymaith liw'r haul, brychni, a phob anharddwch. Fe ddywedir eu bod yn iachau brathiadau gwenwynig cŵn cynddeiriog, neu ryw beth o'r cyffelyb, trwy yfed y drwyth a rhoi y dail yn allanol ar y lle; y mae y drwyth a wneir o'r dail yn dda hefyd i olchi briwiau hen a newydd, ond mi a feddyliwn y gwna y sug y tro yn well na'r drwyth, os bydd yr amser ar y flwyddyn yn caniatau i'w gael; y maent yn dywedyd ei fod yn attal iddynt redeg, ac yn eu hiachau yn fuan; a dodi ychydig o alum yn y sug, a'i roddi yn y llygaid, sydd yn rhagorol o dda i wisgo y bysen neu ryw beth arall a fyddo yn magu ar y ganwyll, ac fe ddywedir ei fod yn dra defnyddiol at y cyfryw beth a fyddo yn magu ac yn pylu y golwg; y maent hefyd yn dywedyd i mi ei fod yn tori y ddannodd a f'o yn un ochr i'r pen, trwy roddi haner llonaid llwy dê o hono yn y glust yr ochr y byddo y gofid yn y dannedd; ac os bydd gofid yn y ddwy ochr, gellir ei roddi yn y ddwy glust; ond dywed rhai mai gwell ydyw ei roddi yn y glust wrthwyneb i'r ochr ag y byddo y boen, ond nis gwn i ddim am hyny, gadawaf arnoch chwi i'w brofi, ac yna gellwch wybod eich hunain trwy brofiad yn well nag y gallaf fi trwy hanes.

## *Calamint.*—Mintys y Mynydd.

Y mae y dail hyn yn ddefnyddiol, ond fod yn gofyn bod yn ofalus gyda hwynt mewn rhai achosion. Y maent yn tyfu hyd forfeydd a thiroedd sychion.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Mercuri; ac y maent yn bur gryfion ac effeithiol i wellhau holl ddoluriau yr ymenydd a phoen yn y pen; y mae y drwyth a wneir o'r dail hyn yn effeithiol i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr, ac i helpu gwneuthur dwfr, ac hefyd yn helpu diffyg anadl; y maent yn gwellhau y clefyd melyn, ac yn attal cyfog yn fuan, trwy eu cymeryd mewn gwin; hyny yw, eu berwi mewn gwin: eu cymeryd mewn halen a mêl sydd yn lladd y llyngyr yn y bol, ac fe ddywedir eu bod yn eu lladd yn mhob rhan o'r corph; y maent yn iachau y gwahan-glwyf wrth yfed eu trwyth, a defnyddio y dail gleision, sef ymolchi â'u sug. Dywedais o'r blaen eu bod i'w gochelyd ar rai achosion, canys y maent yn ddrwg i ferched i'w cymeryd os byddant yn dewis cael plant: y mae y dail wedi eu berwi mewn gwin, a'u hyfed, yn agoryd attalfeydd yr iau a'r ysgyfaint, ac yn help dda i chwysu pan ag y b'o angenrheidrwydd am hyny: gall meibion eu berwi mewn dwfr neu win, ac yfed yn lled helaeth o hono hwyr a bore; ond dymunaf ar y merched am beidio bod yn rhy brysur gyda y dail hyn, am eu bod

yn gweithio gyda gormodedd o greulondeb arnynt hwy, am hyny mi a'u cynghoraf i'w gadael yn llonydd.

---

### *Savin.*—Ffeniw.

Y maent yn tyfu yn y gerddi yn gyffredinol trwy yr holl wledydd, ac yn aros yn wyrddlas trwy'r flwyddyn.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Mars, ac yn boeth a sych yn y trydydd gradd; y maent yn rhagorol o dda at lanhau briwiau, sef y dail wedi eu sychu, eu malu yn llwch, a'u gogryn, a rhoddi ychydig o'r powdr wedi ei gymysgu â mêl yn y briwiau, a'u trwsio hefyd âg ef, eithr ni wnant rwystro iddynt groeni a drwg yn y gwaelod, ond am ychydig bach, fel y rhagrithiwr, felly yn ddrwg y deuant drachefn: y maent yn helpu clwy'r brenin, sef yr hyn a elwir mânwynau, ac yn tòri cornwydydd, anafodydd, a phenau-ddüynod, trwy eu rhoddi arnynt megys plastr, a'i daenu ar ledr, wedi ei gymysgu â rhyw beth cyfaddas iddo lynu; a'i roddi ar y bogel, sydd yn lladd y llyngyr yn y bol,—gellwch goelio y cynghor hwn yn well na llawer un; ac y mae y dail hyn, wedi eu gwneyd yn eli neu blastr, yn gwellhau pob math o grach drwg a fyddo hyd y corph, sef y rhai dyfrllyd a drewllyd, a phob math o ddolur crachlyd a dyfrllyd, cancr, ac amrywiol bethau o'r cyffelyb; ac fe all wneyd

y tro at hen friwiau a f'o wedi aros ar ol y *pox*, ond ei ddefnyddio yn allanol ar y doluriau; eithr gocheled pawb rhag eu cymeryd yn dufewnol, yn enwedig merched, nid oes angenrheidrwydd am i neb eu cymeryd yn dufewnol, am fod eu gwell yn y llyfr.

---

## *Milkwort.*—Llysiau Crist.

Y maent yn blodeuo yn mis Mehefin. Y maent o dan lywodraeth Jupiter, ac yn dda yn erbyn holl ddoluriau y frest, yr iau, a'r ysgyfaint, y spleen, a'r clefyd melyn; gellwch eu berwi mewn dwfr, a'i felysu â mêl, ac yfed o hono hwyr a bore. Nid wyf am ysgrifenu ond ychydig ar eu rhinweddau, am fod digon o rai gwell a haws eu cael na hwy yn y llyfr at amrywiol ddoluriau ereill; ond pan ag y byddaf yn gweled deilen a gwerth ysgrifenu ar ei rhinwedd, yr ydwyf yn gwneuthur hyny heb oedi; eithr pan y byddo deilen ag ychydig o rinweddau ynddi nis gallaf fynegi ond yr hyn sydd deilwng iddi.

---

## *Cat-mint.*—Mintys y Gath.

Y maent yn tyfu yn gyffredin yn y gerddi, ac yn blodeuo yn mis Gorphenhaf.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Venus, ac am hyny y maent yn berthynol i ferched yn fwyaf neillduol, gallwn benderfynu

hyn wrth eu bod o dan lywodraeth y cyfryw blaned, canys y mae hon yn gyffredin yn gweithio rhyw beth er lleshad i'r merched. Y maent yn helpu y cyrsiau misol; gallant eu cymeryd yn dufewnol, ac hefyd eu berwi ac eistedd uwch ben eu hager; a mynych arfer golchi y coesau a'r bol â'r drwyth sydd yn cymeryd ymaith yr hyn sydd yn achos o ddiffrwythder mewn merched, hyny yw, bod yn annhlantadwy; fe ddywedir eu bod yn help i ferched feichiogi, ond nis gwn i ddim am hyny: y maent yn chwalu gwynt o'r corph, y cylla, a'r bol, ac amrywiol fanau ereill; y maent yn dda rhag diffyg anadl; eu berwi mewn gwin a'i yfed sydd yn dda i'r rhai sydd wedi briwo ac ysigo oddi mewn; y mae hefyd yn dda i olchi y pen at iachau crach drwg, ac amrywiol fanau ereill yr un modd: cnociwch y dail a rhoddwch ar y peils am awr, a hwy a'u hesmwythant yn fuan; y maent yn cael eu defnyddio at boen a f'o mewn pen, trwy chwysu y dail a'u rhoddi wrtho, gellwch hefyd eu berwi, ac yfed y drwyth a wneir o honynt. Y mae y dail yn ddigon diberygl yn dufewnol ac yn allanol.

---

*Self-heal.*—Clust yr Arth.

Y maent yn tyfu mewn cacau a lleoedd cysgodol a chocdiog. Y macnt yn blodeuo yn misoedd Ebrill a Mai.

*Rhinwedd.*—Maent o dan lywodraeth Venus; pan y byddoch wedi briwo, gellwch iachau eich hunain gyda y dail hyn, canys y maent yn rhagorol dda at yr holl ddoluriau tufewnol ac allanol: y maent yn dda i iachau briwiau yn y rhanau tufewnol yn gystal ag yn allanol, ac yn attal gwaed o bob math o friwiau yn mhob rhan o'r corph; y maent yn iachau briwiau newydd hefyd gyda brys. Eu sug sydd yn dda i olchi y talcen pan ag y byddo dolur neu gur mawr yn y pen. Gwelwch mai deilen allanol, neu o'r hyn lleiaf at friwiau yn hollol, ydyw hon.

---

*Kidney-wort.*—DAIL Y GRON.

Y MAE y dail hyn yn blodeuo yn mis Mai, a'u hâd yn aeddfed yn fuan ar ol hyny, ac y'mhen ychydig wed'yn y maent yn gwywo tan fis Medi, pryd y maent yn ail darddu, ac yna yn aros yn leision trwy y gauaf.

*Rhinwedd.*—Y mae Venus yn hòni hawl i'r dail hyn, ac y maent yn arwydd y Fantol. Y maent yn dda i'w distilio i oeri y corph pan ag y b'o ynddo ormodedd o wres a natur gwasgfeuon, ac yn oeri y cylla, yr iau, a'r bol, pan ag y byddont yn rhy boeth; y mae eu sug yn iachau crach a f'o hyd y gwyneb, a thân iddwf, yn nghyda phob math o farciau a f'o yn tòri allan trwy y croen; mae y dwfr a ddistilir o honynt yn dda i'w yfed yn erbyn dolur y gareg a'r grafel, ac hefyd yn erbyn y dropsi; y mae

y dail hyn yn dda i wellhau y peils, ac hefyd i'w cnocio i'w rhoddi ar y gwddf yn erbyn clwy'r brenin; ac y mae eu trwyth yn gwellhau y *gout* trwy ei olchi. Y mae y dail hyn yn hollol ddiberygl.

---

## *Jacinth.*—Cenin y Brain.

Mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Mars, ac yn eu nerth o gylch mis Gorphenhaf. Eu rhinwedd yn allanol sydd i dynu ymaith farciau a fyddo ar y croen ar ol ymladdfeydd a chodymau neu ryw ddamweiniau ereill a ddichon fod ar ryw ran o'r corph; ac hefyd y maent yn dda i iachau pob math o grach a f'o yn tori allan o'r corph, trwy eu gwneuthur yn eli, ac iro y lle dolurus âg ef; gellir hefyd eu cymeryd a'u berwi yn drwyth gref i olchi y cymalau at dori y boen yn ddynt, yr hyn a wnant gyda phrysurdeb.

---

## *Melancholy Thistle.*

Ysgall llyfnion a llaethog, ac heb fod yn bigog, yw y rhai hyn, y maent yn rhagori yn fawr ar yr ysgall ereill yn eu hymddangosiad. Y maent yn tyfu mewn lleoedd lleithion, ac hefyd mewn amrywiol fanau yn y gwledydd hyn a gwledydd ereill.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Mars, ac y maent yn gwellhau y pruddglwyf, sef y

melancoli; nid ydyw eu rhinwedd ond ychydig, ond yn unig at y dolur hwn; trwyth o'r dail hyn wedi eu berwi mewn gwin, a'i yfed, sydd yn gweithio yr *humours* drwg, yr hyn sydd yn magu y melancoli, allan o'r corph, ac yn codi yr ysbrydoedd, gan wneuthur y mab neu'r ferch mor lawen a'r cricied, meddynt hwy. Y mae y melancholi yn peri trymder meddwl, gofalon, a gwallgofrwydd, ac hefyd yn peri anobaith a llidiawgrwydd, a llawer o ddrygau ereill yn y corph a'r meddwl; ond ein dyledswydd yw rhoddi ein gofalon ar Dduw y nefoedd, a dysgwyl wrtho ef, ac efe a ofala am danom ni. O! mor dda a fyddai pe b'ai meibion a merched yn gallu gwneyd hyn, oblegyd ni wna saith mlynedd o ofalon bydol ac ofn ysbrydol wneyd un dyn yn ddoethach nac yn gyfoethocach yn y byd a'r bywyd hwn, nac ychwaith addysgu dim arnynt erbyn y byd ar ol hwn. Y maent yn ddiberygl, a gellir eu berwi a'u hyfed wrth eich rheswm.

---

*Gooseberries.*—Eirin Mair.

Mae y rhai hyn, cyn iddynt fod yn aeddfed, yn dda i'w hysgaldio neu eu crasu mewn popty, i'r rhai sydd wedi colli eu hystumog; ac y maent yn rhagorol o dda i dori blys ar ferched pan y byddont yn feichiog. Gellwch eu cadw trwy y flwyddyn trwy eu *preservio* â siwgr, a'u cymeryd wrth eich angen; ac y maent yn dda

pan y byddont wedi aeddfedu i'w bwyta at oeri yr iau a'r ystumog pan y b'ont yn rhy boethion. Y dail, pan y byddont yn ieuaingc a thyner, sydd dda i'w berwi a'u hyfed rhag y grafel; ac i olchi chwydd coch a chaled yn allanol.

---

*Red Roses.*—Rhôs Cochion.

Berwch y rhai hyn mewn gwin, ac yfwch y drwyth rhag poen yn y pen; y maent hefyd yn dda i'w hyfed mewn gwin coch i attal y misglwyf, neu ryw beth o'r cyffelyb; yr hadau sydd yn eu canol sydd yn ateb i'r un dyben, trwy eu powdro a'u hyfed mewn gwin: maent yn dda rhag y clwy' gwaed, a rhag gwaedu o'r genau a'r ffroenau, a'r rhai sydd yn gwneyd dwfr gwaedlyd; ac y maent hefyd yn cryfhau'r galon, yr iau, a'r ysgyfaint, ac yn codi yr ysprydoedd; ac os ydych yn dueddol i daflu i fyny eich bwyd, cymerwch y dail hyn a dail mintys, a rhoddwch yn allanol wrth eich hystumog, yr hyn a'i tawcla yn fuan.

---

*Sage.*

Mae y dail hyn yn dda at yr iau, trwy eu hyfed yn dê, neu ryw ffordd arall, ac i fagu gwaed iach yn y corph; y maent hefyd yn dda rhag y grafel: ac attaliant waed o bob math o friwiau, trwy eu golchi â'u trwyth. Llonaid llwy fwrdd o'u sug sydd yn dda i ferched pan

y byddont yn anmhlantadwy, i'r dyben i'w gwneuthur yn ffrwythlon, ac hefyd i'w cadw rhag miscario. Rhag cyfogi neu bocri gwaed cymerwch dair llwyaid o sug y dail hyn yn nghyda mël, a hyn a'ch gwellha yn fuan; maent yn dda hefyd rhag pocn yn y pen, ac i ysgafnhau a chodi y meddwl isel i fyny: cymeryd eu sug gyda dwfr cynhes a mêl sydd yn dda rhag crygni a phesychu. Gellwch hefyd ddefnyddio y dail hyn gyda rhôsmair, dail gwiwydd, dail llyriaid, a mêl, a golchi y genau a'r gwddf â hwynt pan fyddont yn ddolurus.

---

## *Willow Tree.*—Pren Helyg.

Y mae y rhai hyn o dan lywodraeth y Lleuad; y mae y dail yn cael eu defnyddio at rwystro i friwiau waedu, a gwna y rhisgl neu'r hâd y tro hefyd; y maent yn attal gwaedu o'r genau neu'r ffroenau, ac yn attal cyfogi yn yr un modd; y maent yn attal yr *humour* hallt sydd yn dyferu i lawr ar yr ysgyfaint, yr hyn sydd yn aml yn magu y darfodedigaeth. Y ffordd i'w cymeryd yw eu berwi mewn gwin, a'i yfed.

Yn allanol, lludw y rhisgl wedi ei gymysgu â fincgr sydd yn tynu y defaid oddiar y dwylaw, neu ryw fan arall, a'r cyrn oddiar y traed, drwy eu rhoddi ar y lle.

### *Smallage.*

Maent yn tyfu o honynt eu hunain mewn tiroedd lled wlybion, ond hwy a ffynant yn burion mewn gerddi pan eu plenir yno.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Mercuri, ac yn rhinweddol i agoryd attalfeydd yr iau a'r spleen, ac yn puro y gwaed; y maent yn helpu y rhai sydd yn methu gwneuthur dwfr, ac fe ddywedir eu bod yn dda rhag y clwyf melyn. Y ffordd oreu i'w cymeryd ydyw tynu eu sug a'i ferwi yn nghyd a siwgr, a'i yfed, at iachau y doluriau uchod. Yn allanol, y mae eu sug, yn nghyd a *honey of roses*, a golchi y genau a'r gwddf âg ef yn fynych, yn eu hiachau yn fuan.

---

### *Holy Thistle.*—Ysgall Bendigaid.

Mae yn debygol mai rhyw un a phur ychydig o sancteiddrwydd ynddo ei hun a roddodd yr enw hwn arnynt.

*Rhinwedd.*—Y maent yn gwellhau ysgafnder mewn pen, a'r clwyf melyn, ac yn puro y gwaed; y maent yn dda at wynebau cochion, ymgrafu, penddüynod, *pox*, a brathiadau cŵn cynddeiriog; ac hefyd at gryfhau y côf. Y ffordd i'w cymeryd,—Powdrwch y gwraidd, a chymerwch o hono mewn gwin, neu ryw beth cyfaddas, dair gwaith yn y dydd.

*Rosemary.*—RHÔS MAIR.

Y MAENT yn ddail mor rinweddol ag unrhyw rai sydd yn tyfu, i'w defnyddio yn dufewnol ac yn allanol; o herwydd trwy eu cynhesrwydd y maent yn cysuro holl ranau y corph a fyddo wedi cael ei niweidio trwy oerfel, yn enwedig y pen a'r ystumog; y maent yn dda rhag ysgafnder mewn pen, yn cryfhau yr ymenydd, yn codi yr ysprydoedd, ac yn helpu'r polsi sydd yn attal y lleferydd; y maent yn helpu y côf gwan, ac yn cryfhau y synwyrau; y maent hefyd yn rhagorol o dda at y frest pan fyddo oerfel wedi sefydlu ynddi: gellwch eu powdro, a chymeryd o'r powdr mewn gwin gwyn, neu eu distilio, neu eu berwi mewn dwfr, a'i yfed yn nghydag ychydig win gwyn neu frandi. Y mae eu blodau yn helpu y rhai sydd a'u golygon yn ddwl, trwy eu bwyta gyda bara a halen yn y bore; a'u berwi mewn dwfr, ac yfed y drwyth yn y bore, gan gerdded yn gyflym ar ei hol, sydd yn iachau y clwyf melyn: eu sychu a'u smocio fel *tobacco* sydd yn dda i'r rhai sydd yn poeri llawer. Y mae *oil* o honynt i'w gael yn siop y *druggist*, pa un a wellha yr holl ddoluriau tufewnol a enwyd; gellwch ei gymeryd o bump i bymtheg dyferyn, dair gwaith yn y dydd, fel y byddo'r oed a'r nerth, mewn llwyaid o win gwyn.

Yn allanol, y maent yn dda i'w berwi at olchi y crydcymalau oer, neu ryw afiechyd arall yn yr aelodau a fyddo wedi magu trwy oerfel.

### *Wild Sage.*—Chwerwlys yr Eithin.

Y maent yn lled debyg i'r lleill, ac nid oes eisiau mo'u gwell i chwysu ac i ostwng chwydd yn yr aelodau trwy wneuthur defnydd o honynt yn dufewnol ac yn allanol; y maent yn dda yn erbyn y *pox*, trwy yfed eu trwyth yn fynych; ac y mae hon yn anffaeledig feddyginiaeth i'r rhai sydd wedi cael codymau a thori gwythenau oddi mewn. Yfwch yn fynych o honi ac fe'ch gwellha yn fuan.

---

### *Solomon's Seal.*

Y maent yn tyfu yn y gerddi, ac yn gyffredin yn adnabyddus yn mhob lle.

*Rhinwedd.*—Y mae eu gwraidd yn rhagorol o dda at friwiau, archollion, a damweiniau allanol, ac at gau i fyny friwiau newydd a sychu yr hen, trwy eu powdro a'u rhoddi yn y briwiau; y maent yn rhwystro gorlifiad gormodol y misglwyf yn y merched; y maent hefyd yn dda i feibion sydd yn gwaedu o'u ffroenau, neu o'u genau, neu wrth wneuthur dwfr, trwy eu hyfed yn dê gyda siwgr gwyn: y maent yn rhagorol o dda, trwy eu gwneuthur yn bowltis, i gryfhau esgyrn briwiedig neu gymalau gweiniaid, ac fe ganfyddwyd yn ddiweddar eu bod yn anghydmarol o dda i'w berwi mewn gwin neu rywddiod arall, a'i hyfed gan y rhai sydd wedi tori neu friwio eu hesgyrn, ac nid yw ei heffaith ddim yn llai i'r rhai

sydd wedi tori eu llen-gig, trwy ei hyfed a rhoddi'r dail yn blastr ar y lle am naw diwrnod, heb ystyrio ond lleied ag a ellir. Y mae'r dwfr a ddistilir oddi wrthynt yn dda i harddu y croen ac i dynu lliw yr haul, ac i lanhau pob anharddwch arall: y mae'r Italiaid yn ei arfer i'r dyben hwnw yn fynych.

---

### *Tormentil.*—TRESGL Y MÔCH.

Y MAENT yn tyfu mewn lle coediog a chysgodol.

*Rhinwedd.*—Fe ddywedir eu bod yn dda ragorol i rwystro gwaed o'r genau, y ffroenau, a'r ymysgaroedd; a'u sug wedi ei gymysgu â *Venus treacle*, a gorwedd a chwysu ar ei ol, sydd yn anffaeledig feddyginiaeth i rai a fyddo wedi cael gwenwyn, ac hefyd yn nechreuad clefyd, a phob math o bla; ac nid yw y dail yn ddim llai eu heffaith at iachau y *pox*, trwy yfed y drwyth; mae eu sug yn gwellhau y clwyf melyn. Yn mhellach, berwer y dail mewn dwfr yn drwyth gref, ac eistedded y merched sydd dueddol i fiscario uwch ben yr ager, gan roddi eu traed yn y dwfr mor boeth ag y gallont ei oddef; a phlastr o honynt wedi ei wneuthur â finegr sydd yn ateb i'r un dyben. Ychydig o'u powdr gyda sug dail llyriaid sydd yn lladd y llyngyr ar blant; ac y maent yn dda i'r rhai sydd wedi cael codymau a thori eu llen-gig, trwy yfed eu trwyth a'u rhoddi

hwythau yn blastr ar y lle. Eu gwraidd, pelydr Spaen, ac alum, sydd yn dda i'w roddi yn nhwll y dant i wellhau y ddannodd; ac y maent yn rhagorol o dda rhag y peils, trwy yfed eu trwyth, a gwneyd eli o honynt gyda bloneg i'w ddefnyddio yn allanol; y maent yn dda i'r merched i attal yr arferiad misol pan ag y b'o yn dyfod yn rhy helaeth, trwy yfed eu trwyth.

---

### *Vervain.*—Llysiau'r Hudol.

Tyfant mewn cloddiau, ochrau ffyrdd, a thiroedd gwylltion ereill, ac y maent yn blodeuo yn mis Gorphenhaf.

*Rhinwedd.*—Y mae'r dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Venus, ac yn rhagorol o dda yn erbyn yr holl oerfel a'r afiechyd sydd yn berthynol i'r groth; y maent yn iachau y clwyf melyn, y dropsi, a'r *gout*, ac yn lladd y llyngyr yn y bol; y maent yn cryfhau yr ystumog, yr iau, a'r spleen, ac yn helpu y pesychu a diffyg anadl; ac y maent yn dda rhag y grafel a'r gareg. Chwi a ellwch eu distilio, ac yfed y dwfr distiliedig gyda mêl, neu eu berwi a gwneuthur *syrup* o honynt, a'i gymeryd wrth eich angen.

---

### *Wormwood.*

Ni thywynodd yr haul erioed ar ddim gwell deilen na hon i wellhau y clwyf melyn; ac y

mae'n dda hefyd rhag y grafel, ac i ostwng chwydd yn y bol: myfi a ddywedaf i chwi newydd da, sef y tlodion y rhai nas gallant dalu i feddygon, cymerwch flodau y dail hyn, rhôsmair, a dail drain duon, yr un faint o bob un, a berwch yn nghyd, ac yn niwedd y berwi rhoddwch ynddo haner yr un faint o saffrwm, a berwch am ychydig o funydau, a rhoddwch ynddo fêl neu siwgr candi, a photelwch a chymerwch o hono lonaid cwpan dê, nos a bore, a hyn a geidw eich corph mewn perffaith iechyd. Y mae genyf un peth eto, i'r rhai sydd arferol o ysgrifenu, cymerwch sug y dail hyn a rhoddwch yn eich inc, ac ni all llygod mân na ffrengig gnoi byth mo'r papur. Y rhai sydd ganddynt lawer o ddillad, a'r pryfed yn eu bwyta, rhoddwch y dail hyn yn eu plith, a hyn a'u ceidw rhag pryfed. Ni ddywedaf ddim yn ychwaneg am y dail hyn, y mae hir ddydd haf yn rhy fychan i ddywedyd yn gyflawn am eu rhinwedd.

---

## *Arsmart.*—Y Benboeth.

Maent yn tyfu mewn lleoedd gwlybion, ffosydd, ac amrywiol leoedd o'r cyffelyb, y rhai sydd yn sych yn yr haf yn gyffredin.

*Rhinwedd.*—Y mae sug y dail a'i rwbio ar chwydd oer yn ei wellhau yn fuan; dal ychydig o'r gwreiddyn ar y dant a dŷr y ddannodd; a theflwch y dail ar lawr yr ystafell, a

hwy a yrant i ffordd yr holl chwain yn fuan, ac os rhowch lonaid llaw o honynt o dan y cyfrwy wrth farchogaeth, fe drafaelia y march yn llawer gwell. Y mae dau fath o'r dail hyn, sef poethion ac oerion; ond y poethion yw y rhai hyn, gellwch eu hadnabod wrth eu profi ar eich tafod, am eu bod yn boeth.

---

### *Black Hellebore.*

MAENT yn tyfu mewn gerddi. Mae y dail hyn yn lled enbyd i gymeryd llawer o honynt yn dufewnol, ond os dygwydd i chwi niweidio eich hunan trwy gymeryd gormod o honynt, y feddyginiaeth yw cymeryd llaeth geifr, os gellir ei gael, onide cymerwch y llaeth nesaf i'ch llaw. Mae eu gwraidd yn rhagorol o dda yn erbyn pob math o ddoluriau sydd yn tarddu oddiwrth y melancoli, a gwallgofrwydd, y ffitiau, y gwahan-glwyf, y clwyf melyn a'r du, a'r confylsiwn, ac y maent yn rhinweddol i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr.

Yn allanol, y maent yn iachau briwiau, trwy roddi y powdr arnynt:—ugain *grain* am ben deg *grain* o *cinnamon* sydd ddigon i'w gymeryd ar unwaith.

---

### *Service Tree.*—PREN CRIAFOL.

Y MAE ffrwyth y pren hwn, pan y byddont yn aeddfed, yn dda i'w berwi yn ddiod rhag

rhyddni a chlwyf gwaed, a'i gymeryd mewn gwin coch, a gellwch ei hyfed yn helaeth; hefyd eu berwi mewn dwfr, a golchi aelodau clwyfus âg ef. Nid oes ond ychydig ganmoliaeth i'r dail hyn, ond fe allant fod yn dda er hyny.

---

### *Strawberries.*—MEFUS.

MAE y dail hyn yn oerion yn eu natur; os bydd eisiau oeri'r iau neu'r ysgyfaint, gellwch ei wneyd trwy gymeryd y rhai hyn a'u bwyta; y maent yn oeri y gwaed, y spleen, y cylla, ac yn tòri syched: mae y dail wedi eu berwi ac yfed eu trwyth, yn dda i attal y clwyf gwaed a'r cyrsiau misol; ac y mae'r dwfr a ddistilir o honynt yn dda i oeri y llygadau ac i wisgo y bysen.

---

### *Barbery.*—PREN MELYN.

RHISGL isaf y pren hwn wedi ei ferwi, ac yfed haner peint bob bore o'r drwyth, sydd yn gwellhau'r corph o'r afiechyd a'r anmhurdeb sydd yn y gwaed, sef pendduynod, ysgyrfi, ymgrafu, a phob rhyw gyffelyb bethau, yn nghyda'r clwyf melyn; gellwch wneyd defnydd o hono i oeri y gwaed a'r iau, ac hefyd y clwyf gwaed; y mae yn ychwanegu yr ystumog at fwyd pan fyddo wedi colli: os at y clwyf gwaed, cymerwch y rhisgl a berwch mewn gwin coch, ac yfwch yn fynych.

### *Hops.*

Gwaith y dail hyn yw agoryd attalfeydd y spleen a'r iau, symud ymaith y grafel, puro y gwaed, a rhyddhau y bol pan y byddo yn rhwym; ni waeth pa un ai gwyllt ai dôf o honynt; y maent yn helpu yr ymgrafu, crach, a phob rhyw doriad allan trwy'r corph, ac y maent yn helpu'r *French pox;* y maent yn dda hefyd i'r rhai sydd wedi cymeryd gwenwyn; haner dram o'r hadau yn bowdr, a'u cymeryd mewn diod frag yn y bore, sydd yn lladd y llyngyr.

---

### *Hawthorn.*—Draenen Wen.

Y mae yr hâd a gewch yn y grawn, neu y cnapiau sydd yn tyfu arnynt, wedi eu powdro, a'u cymeryd mewn gwin gwyn, yn rhagorol o dda rhag y grafel, y gareg, a'r dropsi; y maent hefyd wedi eu glanhau a'u berwi mewn gwin, a'i yfed, yn tòri poen oddi mewn: os gwlychwch gadach poeth yn y dwfr a ddistilir o honynt, a'i roddi ar y lle y byddo draen, a'i newid amrywiol weithiau, yna gwelwch y ddraenen yn rhoddi meddyginiaeth i'w phigiad ei hun.

---

### *Groundsel.*—Y Benfelen Fanyw.

Nid oes eisieu mo'u gwell at bob math o ddolur f'o wedi magu trwy wres, ac eisieu ei oeri; os bydd y cylla yn afiach, hwy godant

gyfog, ac os bydd y cylla yn iach, gweithiant i lawr yn raddol. Eu sug sydd yn dda i'w gymeryd mewn gwin yn erbyn y ffitiau a'r clwyf melyn, ac hefyd i'r rhai sydd yn ffaelu gwneyd dwfr; maent yn dda i'w gwneyd yn bowltis i roddi ar fronau merched pan y byddont yn chwyddo ac yn cochi. Cnocio y dail gyda halen, a'u rhoddi ar chwarenau, a wna iddynt chwalu. Gellwch gymeryd y dwfr a ddistilir o honynt, yn dufewnol, yn erbyn y doluriau a enwyd uchod, yn ol eich rheswm.

---

### *Elicampane.*—Marchalan.

Y mae y dail hyn yn iachau ffaeledd y frest, os oerfel a'i magodd, ac yn tori cnoi yno a phigiadau yn yr ystlysau, y rhai sydd yn codi oddiar y spleen; ac y maent yn helpu pesychu, diffyg anadl, a gwichian yn y frest; y maent yn attal cerddediad brathiadau nadroedd. Y mae y gwraidd a'r dail wedi eu curo a'u rhoi yn ngwlych mewn cwrw, ac yfed o hono bob bore, yn glanhau, yn cryfhau, ac yn sirioli y llygaid yn rhagorol; y dail wedi eu berwi mewn gwin, a'i yfed, sydd yn hel i ffordd bob math o lyngyr allan o'r corph: y maent yn dda i'r rhai sydd yn poeri eu gwaed. Y gwraidd wedi eu cnocio a'u berwi mewn finegr, a'u gwneuthur yn eli gyda saim traed defaid, sydd yn gwellhau yr ymgrafu ar hen ac ieuangc; a

berwi y gwraidd a'r dail mewn dwfr a finegr, a golehi y lle âg ef, a etyb yr un dyben, ac yn beth parotach.

---

### *Costmary.*—Tafod yr Oen.

Dail cyffredin yw y rhai hyn, ac yn hawdd i'w cael: maent yn rhagorol o dda rhag y grafel, yn meddalhau ealedrwydd y spleen, yn cryfhau yr iau a'r holl ranau tufewnol, ac yn dda hefyd yn erbyn ffitiau o'r cryd. Y mae eu hadau yn cael eu rhoddi gyda llwyddiant i blant yn erbyn y llyngyr. Y mae y dail hyn, a thafod y neidr, ac *oil*, yn gwneyd eli da at friwiau.

---

### *Amare Dulcis, Bitter Sweet.*—Manyglog.

Y mae gwahanol enwau ar yr un dail mewn amrywiol wledydd; ond llawer o boen sydd raid ei gymeryd cyn ag y gellir dyfod â'r amrywiol a'r gwahanol enwau hyny yn ddealladwy i'r wladwriaeth.

Y mae y dail hyn yn tyfu i fyny yn gyffredin i uchder dyn o ran maintioli, ac y mae eu dail yn syrthio i lawr fel ag y mae'r gauaf yn agosau, ae yn tarddu allan draehefn o'r hen foncyff yn nechreu y gwanwyn; y mae o gylch y coesau, sef y eanghenau, risgl gwynion yn eu hamgylchu, ac oddi mewn yn lled debyg i bren ysgaw yn llawn mwydion; mae y dail mwyaf

o honynt yn ymranu yn amrywiol ranau, ac yn gyffelyb i glasp, hyny yw, yn eydio gafael yn y rhai nesaf atynt: y mae y dail yn hirion, ac eto ryw beth yn llydain, ond yn feinion at eu blaenau, o liw gwyrdd gwan; a'r blodau o liw glas perffaith, y rhai sydd yn sefyll yn glwstr gyda'u gilydd: y mae yr hadau, sef y grawn, neu y mân gnapiau sydd yn tyfu arnynt, yn eu dechreuad o liw gwyrdd, ac ar ol myned yn aeddfed y maent yn goehion. Maent yn tyfu yn gyffredinol trwy yr holl wledydd, ond yn enwedig mewn llcoedd eysgodol a lleithion. Y mae y dail yn deehreu tarddu allan yn mis Mawrth, ae y maent yn dechreu blodeuo yn mis Gophenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth y blaned Mercuri, yr hon sydd yn rheoli ar ddydd Mercher; ae y maent yn dywedyd mai dail rhagorol o'i eiddo ef ydynt hefyd os cesglir hwynt o dan ei deyrnasiad, hyny yw, pan ag y byddo y blaned hon yn rheoli arnynt; ond i'eh rhoi yn well ar ddeall pa fodd i'w casglu yn yr awr ag y byddo y blaned hon yn teyrnasu, ehwi a gewch eto eich eyfarwyddo yn fwy manwl. Y maent yn rhagorol o dda i symud ac i attal swyngyfaredd, ae amrywiol ddoluriau sydyn ereill, nid wrth eu cymeryd yn dufewnol, ond trwy eu gwisgo neu eu erogi wrth y gwddf; y maent yn Germany yn eu gwisgo yn gyffredinol o gylch gyddfau eu hanifeiliaid, pan ag y byddont yn ofni rhyw ddamweiniau

o'r cyffelyb i gymeryd lle:—trwm a galarus ydyw meddwl fod cymaint o'r grefft felldigedig hòno yn ein gwledydd ni! Prysuro, meddaf, a wnelo yr amser ag y caffo ei llwyr ddiddymu o'n hardaloedd: gwelwch mai gorchwyl allanol sydd ganddynt yn y pethau a enwyd uchod, ond cewch un cynghor oddiwrthynt yn dufewnol,—cymerwch un pwys o'r coed a'r dail yn gymysg, a rhowch arnynt dri pheint o win gwyn, mewn *saucepan* a chauad cauedig arno, ar dân mor araf ag y peidia a lleihau, tros nos neu am ddeuddeng awr, ac yna eu straenio, a chymeryd chwarter peint o hono bob bore, yr hyn sydd yn dda, meddant hwy, yn erbyn y clefyd melyn a'r clwyf melyn du, ac i agoryd attalfeydd yr iau a'r spleen, ac hefyd i lanhau merched pan ag y b'ont newydd gael eu rhoddi yn eu gwelyau.

---

## *Dropwort.*—Crog-edyf.

Y mae y dail hyn wedi cael yr enw *Dropwort*, am eu bod yn helpu y rhai sydd yn gwneuthur dwfr o fesur dyferyn. Y mae y dail hyn yn fylchog o gylch eu hymylau, yn debyg i Dansi, neu Lysiau y Dryw. Y maent yn tyfu yn gyffredinol trwy yr holl wledydd, mewn gweirgloddiau a chaeau sychion, ac ochrau cloddiau. Maent yn blodeuo yn Mehefin a Gorphenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus, ac yn rhagorol o dda i agoryd attalfeydd y chwysigen a rhedfa y dwfr, ac hefyd yn dda yn holl ddoluriau y grafel a'r gareg; y ffordd i'w defnyddio yn erbyn y doluriau a enwyd, ydyw cymeryd y gwraidd wedi eu malu yn llwch a'u rhoddi trwy ogr, a chymeryd llonaid llwy de o hono gwedi ei gymysgu mewn mêl, a'i gymeryd hwyr a bore, neu berwch y dail mewn gwin gwyn, ac yfwch y drwyth wrth eich rheswm,—briwiwch eich poced o flaen eich corph, o herwydd gwerth y gwin, ond gall y rhai nas gallant gael gwin eu treio mewn dwfr, fe allai yr atebant y dyben yn well na bod hebddynt, ond ei melysu â mel a'i hyfed yn fynych: gellwch gymeryd y gwraidd a'u powdro yn llwch, ei ogryn, a'i gymysgu mewn mêl, a chymeryd o hono yn fynych i chwalu gwynt o'r cylla, yr hyn sydd yn achos iddynt chwyddo; ac y maent hefyd yn dda yn erbyn y peswch a diffyg anadl, ac fe ddywedir eu bod yn dda rhag crygni yn y gwddf, ac yn codi y fflems i fyny, fel ag y gellir yn rhwyddach eu taflyd allan. Yr wyf yn meddwl nad oes dim perygl ynddynt.

---

*Ragwort.*—Llysiau'r Ysgyfarnog.

Y mae gan y rhai mwyaf o honynt amrywiol o ddail llydain gwyrddion, yn gorwedd yn wastad ar y ddaear, ac megys gwedi eu rhwygo, o

ran y bylchau sydd yn eu hymylau, ac oddiwrth y rhai'n y mae coes yn tyfu i fyny o gylch pedair troedfedd o hyd, a blodau melynion lled fawrion arnynt. Y maent yn tyfu yn gyffredinol yn y caeau ac mewn tyndir, a chaeau heb eu trin yn fynych.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn o dan lywodraeth Venus: gellir eu defnyddio yn llwyddianus yn holl ddoluriau Venus, hyny yw, yn allanol ar y rhanau hyny o'r corph ag y mae hi yn eu llywodraethu, sef y gwddf, yn nghyda'r rhanau ereill o'r corph. Y maent yn rhagorol o dda yn holl ddoluriau y gwddf a'r genau, trwy eu berwi a'u cymysgu â mêl, a rhoddi cnap o alum ynddo, a golchi y lle âg ef yn fynych; ac fe ddywedir eu bod yn dda i iachau y *spinacl* a chlwyf y brenin, pan y b'o yn dygwydd y tu fewn i'r gwddf. Y mae eu sug yn dda i iachau briwiau newyddion yn mhob rhan o'r corph, wrth eu golchi âg ef: ac hefyd y mae yn iachau hen dyllau dyfnion a drewedig a ddygwydd dori o gylch y rhanau dirgelaidd (*privates*) i fab neu ferch, am fod Venus yn rheoli y rhanau hyny o'r corph; ac hefyd yn attal pob math o gancr, ac yn rhwystro iddynt gerdded dim yn mhellach i ysu y cnawd. Y mae y dail yn dda i wneuthur trwyth gref o honynt i fathio yr aelodau, y cymalau, a'r gewynau âg ef, pan y byddont yn boenus; gellir, yn lle powltis, wneuthur eli o honynt hefo saim gwyn, ac iro yr aelodau âg ef.

*Fluellin.*—GWRNERTH.

MAENT yn tyfu yn gyffredinol yn y caeau ŷd, ac yn aml yn nghonglau ac ochrau y llwybrau: maent yn eu blodau o gylch Mehefin a Gorphenhaf, ac y mae yr holl ddail yn gwywo ac yn darfod cyn diwedd mis Awst.

*Rhinwedd.*—Y mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth y Lloer. Y maent yn dda ragorol i'w cnocio, i'w cymysgu hefo blawd haidd, a'u rhoi yn blastr ar gauadau y llygaid pan y b'ont yn gochion ac yn dyfrio. Y maent yn rhagorol o dda i attal gwaed mewn pob math o friwiau; a phe b'ai gwythen wedi tòri, y maent yn dda i'w cnocio a'u rhoi ar y lle. Y mae eu sug yn dda i olchi pob math o friwiau hen a newydd, a phob math o gancr a chraeh pa rai sydd yn dueddol i ymledaenu, i ynill, i ysu, ac i fwyta cnawd newydd. Y mae eli a wneir o'r dail hyn yn rhagorol o dda i iachau briwiau a thyllau sydd yn magu yn y cnawd, yn ei lygru ac yn ei fwyta o herwydd y *French pox*. Fe ddywedir fod un gŵr bonheddig yn yr hen amser gynt, a'r pox wedi bwyta darn mawr o'i drwyn, a'r meddygon yn gwaeddi am dòri y darn arall i ffwrdd: ond dywedir fod y dail hyn wedi ei iachau yn gwbl iach.

---

*Wild Pimpernel.*—GWYDDLWYN.

Y MAE y dail hyn yn tyfu yn wylltion o honynt eu hunain, ac i'w cael agos yn mhob

lle, mewn gweirgloddiau yn gystal ag yn y caeau ŷd, ac hefyd mewn gerddi: maent yn eu blodau o fis Mai hyd Awst, a'u hâd yn aeddfed yn yr un amser, ac yn fuan ar ol hyn yn syrthio i lawr ac yn gwywo.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth yr Haul. Maent yn rhagorol o dda i'w rhoi ar splinters o goed, drain, haiarn, neu ryw beth o'r cyffelyb a ddichon fod yn y cnawd: ac os cymerwch y llwch a wneir o honynt i fyny i'r ffroenau, modd ag y bydd rhai yn cymeryd snisin, hyn a wna les i'r pen, ac a dŷn ddwfr i lawr o'r ffroenau, a thrwy hyny yn puro ac yn tynu i lawr yr afiechyd o'r ymenydd. Mae yr ysgrifenydd enwog Galen, yn dywedyd eu bod a natur sychu ynddynt, a'u bod yn sychu briwiau ac yn eu cau at eu gilydd, ac yn y modd hyny yn eu hiachau yn fuan. Y mae sug y dail mewn galwad mawr a chymeradwyaeth gan y merched yn Ffrainc, i olchi eu crwyn, ac i dynu ymaith bob anharddwch a lliw'r haul: ac fe ddywedir eu bod yn iachau brathiad cî drwg neu rywbeth gwenwynllyd arall, wrth eu rhoi yn allanol ar y lle, ac yfed eu trwyth yn fewnol: ac y mae eu sug yn llawn mor effeithiol yn mhob math o friwiau, yn rhwystro iddynt gerdded a bwyta y cnawd newydd, yn eu glanhau ac yn tynu allan y cnawd llygredig, ac yn peri i gnawd iach dyfu yn ei le, ac yn ei groeni. Mae eu sug yn dda i'w ddyferu i'r llygaid i'w clirio, i'w sirioli, ac i'w iachau pan ag y b'ont yn ddolurus: ac os bydd rhywbeth

yn tyfu dros y golwg, fe ddywedir fod sug y dail hyn yn ei glirio. Ac yn mhellach eto, fe ddywedir ei fod yn tòri y ddannodd wrth ei ddyferu i'r glust wrthwyneb i'r ochr y byddo'r gofid; ac fe ddywedir hefyd ei fod yn tòri poen y peils wrth eu golchi âg ef, neu eu berwi ac eistedd uwch ben eu hager, yn fynych.

---

## *Rest Harrow.*—Y Dduglwyd.

Y maent yn tyfu mewn amrywiol fanau o'r gwledydd hyn, yn nghyda manau ereill. Y maent yn eu blodau yn nghanol mis Gorphenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn Awst.

*Rhinwedd.*—Y maent o dan lywodraeth Mars, ac yn dda i weithio yn ffordd y dwfr, sef i wellhau y grafel a'r gareg, ac i'w gyru ymaith gyda'r dwfr; fe ddywedir mai powdr o risgl y gwraidd, a'i gymeryd mewn mêl neu win gwyn, ydyw y goreu at y doluriau a enwyd uchod: y maent yn rhagorol o dda i agoryd attalfeydd yr iau a'r spleen; y maent yn dda i'w berwi mewn finegr, a thoddi cnap o alum ynddo, i olchi y gwddf a'r genau âg ef; ac y mae'r powdr a wneir o'r gwraidd yn dda i'w roi ar hen friwiau caledion, yn enwedig ar eu hymylau, i'r dyben i'w meddalhau, ac i beri iddynt iachau yn gynt; y mae y dwfr a ddistilir o honynt yn ateb y dyben i'r holl bethau a enwyd uchod, neu eu sug yn llawn cystal; ac os nas gellir ei gael, trwyth o'r dail

a wna y tro, a'i hyfed; ac os na cheir y rhai hyny ychwaith, fe wna y gwraidd yn llawn cystal: nid oes dim perygl ynddynt ar a wn i. Y mae amrywiol ffyrdd i drin yr un dail, ac fe all pob un ateb y dyben; yna geill pawb eu trin yn y ffordd y gallont eu cymeryd oreu, ac y meddyliont y byddont fwyaf llesol iddynt.

---

### *Queen of the Meadows.*—BRENHINES Y WEIRGLODD.

MAENT yn tyfu mewn gweirgloddiau gwlybion yn fwyaf cyffredinol, ac yn eu blodau trwy holl fisoedd yr haf.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus; eu defnydd mwyaf yw rhwystro pob math o waedu, sef y clwyf gwaed, gwaedu o'r genau a'r ffroenau, y cyrsiau arferol, a'r gwynion hefyd: fe ddywedir eu bod yn hel ymaith y cryd, a'u bod yn llawenhau y galon, ac fe ddywedir hefyd eu bod yn feddyginiaeth anffaeledig i'r colic. Y ffordd i'w cymeryd rhag y doluriau uchod ydyw eu berwi mewn gwin coch, ac yfed eu trwyth.

---

### *Hemlock.*—CEGYD.

YR wyf yn eich rhybuddio yn flaenorol na wnewch ddim defnydd o honynt yn dufewnol, ond yn allanol yn unig; y maent yn dda ac

yn ddigon diberygl mewn powltis at ostwng chwydd ar bob rhan o'r corph, ond yn unig y rhanau dirgelaidd, cedwch oddiyno; ond os bydd angenrheidrwydd yn galw, sef y *pox*, peidiwch a'i ddal ond cyn lleied ag y galloch: i dynu pysen oddiar lygad, cymerwch ychydig o'r dail hyn, ac yr un faint o *bay salt*, gan eu cnocio yn nghyd, a'u rhoddi wrth yr arddwrn gwrthwyneb i'r llygad dolurus, gan ei wisgo a'i newid yn awr ac yn y man, a hyn a dyn y bysen, trwy ei newid bob pedair awr ar hugain: os bwyty'neb y dail hyn mewn cam-gymeriad yn lle persli, y feddyginiaeth yw yfed y gwin goreu yn helaeth.

---

*Scurvy Grass.*—DAIL YSGYRFI.

Y MAENT yn tyfu tan lywodraeth Jupiter, ac yn ddail rhagorol i buro'r gwaed, yr iau, a'r spleen, trwy gymeryd o'u sug bob bore yn y gwanwyn, mewn cwpanaid o ddiod frag; eu sug sydd hefyd yn dda i'w roddi yn mhob math o friwiau dyfrllyd a drewedig, ac hefyd i lanhau y croen oddiwrth bob math o anharddwch.

---

*Hyssop.*

MAE y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter. Eu berwi gydag ychydig o *rue* y gerddi a mêl, ac yfed y drwyth sydd yn dda rhag pesychu, diffyg anadl, a chrygni yn y

frest a'r gwddf; a ehnocio y dail yn nghydag ychydig siwgr, a'i roddi ar friw newydd, efe a'i hiacha yn fuan.

---

*Gout-wort.*—LLYSIAU'R DROEDWST.

Y MAENT yn ddail isel, yn aml yn llai na haner llath o uehder, o arogl lled ddrwg, ac yn tyfu mewn ffosydd ac ochrau cloddiau a hen waliau. Y maent yn eu blodau yn mis Gorphenhaf.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Sadwrn; cafodd y dail hyn yr enw hwn am eu bod yn esmwythau poenau y *gout*, nid am ddim y cafodd y dail hyn yr enw hwn, nac ychwaith heb ei haeddu. Gellwch gymeryd y dail hyn yn llwyddiannus trwy eu berwi mewn dwfr yn drwyth gref, a golchi y lle dolurus gyda hi yn fynych ac yn gynhes.

---

*Melilot.*—PYS Y CEIRW.

Y MAE y dail hyn mewn galwad mawr gan yr *Apothecaries;* y maent yn tyfu yn gyffredinol trwy y gwledydd hyn yn ochrau cloddiau a ffosydd, yn enwedig mewn cacau ŷd, a chonglau gweirgloddiau: y maent yn eu blodau yn Mehefin a Gorphenhaf, a'u hâd yn aeddfed yn fuan ar ol hyny.

*Rhinwedd.*—Mae y dail hyn yn tyfu o dan lywodraeth Jupiter· ac yn dda i'w berwi mewn

gwin i'w rhoddi yn allanol ar gornwydydd i'r dyben o'u meddalhau a'u rhywiogi, ac i'w gwneuthur yn fwy addas i dòri: y maent hefyd yn dda at bob math o gochni a chwydd yn mhob rhan o'r corph, yn enwedig os bydd o gylch yr eisteddle, neu'r *privates*, i fab neu ferch; byddant yn well wedi rhoi blawd neu felyn ŵy wedi ei rostio am eu penau. Mae eu sug yn dda i'w ddyferu i'r llygaid i dynu y bysen; ac y mae y dwfr a ddistilir o'r dail hyn yn dda i fynych olchi y pen âg ef, i'r dyben o gryfhau y côf, yr ymenydd, a'r synwyrau; a phlastr o honynt sydd yn dda i'w roddi ar y *spleen* i'w meddalhau ac i'w gwellhau. Gwelwch mai yn allanol y maent i'w defnyddio, ac nid oes dim cymhelliad iddynt yn dufewnol.

---

## *Gromel.*—GROMANDI.

Y MAE dwy fath o'r rhai hyn, ond eu rhinwedd meddygol sydd yr un, y gwahaniaeth sydd yn eu dull yn tyfu yn unig. Y maent yn blodeuo ac yn hadu o gylch diwedd Gorphenhaf, ac yn parhau yn hŵy.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Venus; y mae y dail hyn yn cael eu cyfrif yn ddail enwog ragorol yn y doluriau hyny a clwir y gareg a'r grafel: ac fe ddywedir eu bod yn dda nid yn unig i dòri y gareg, ond hefyd i rwystro iddi gasglu neu fagu drachefn, wrth eu harferyd yn lled fynych; a

phan y bo'r dwfr wedi stopio, neu yn methu ei wneuthur ond gyda phoen, y mae trwyth y dail hyn yn dda i'w hyfed yn yr achos hwn: eu hâd ydyw y goreu a mwyaf nerthol, os gellir eu cael, ond fe wna y dail y tro wedi eu berwi mewn dwfr ac yfed eu trwyth, ond eu bod yn wanach ac yn llai eu nerth na'r hadau; y mae chwarter wns o'r hâd wedi eu powdro a'u cymeryd mewn llaeth bron, yn dda i'w rhoddi i wraig ar ei gwewyr esgor, pan ag y bo'n galed ac yn methu a chael ei rhyddhau: ac os gellir cael eu hâd a'u cymeryd mewn gwin gwyn, byddant yn well at y doluriau a enwyd uchod; ond os na cheir yr hadau, berwch y dail ac yfwch y drwyth yn fynych. Y mae un math o honynt yn y gerddi, fe allai fod yn haws cael hâd y rhai hyn na'r rhai sydd yn tyfu mewn ochrau cloddiau a thir heb ei drin; os na fedrwch gael y fath hon ychwaith, mae'n bosibl fod ereill yn y llyfr a etyb yr un dyben, ac yn hawdd eu cael, sef y goes-goch, llysiau y dryw, ac amrywiol ereill a ellwch eu gweled wrth chwilio y llyfr yn fanwl.

---

## *Ground Pine.*—Palf y Gath.

Dail mân ydyw y rhai hyn, ag sydd yn tyfu o gylch rhychwant oddiwrth y ddaear, a llawer iawn o fân ganghenau yn tyfu oddiwrthynt ac arnynt amrywiol ddail meinion hirion, o liw llwydion neu lwyd-wynion: y

mae eu cocsau o arogl cryf, a rhyw beth yn debyg i ystor; y mae y blodau o liw melyn gwan, ac yn tarddu allan o gymalau y coesau. Y maent yn tyfu yn wylltion yn y caeau, ochrau y cloddiau, ac ochrau y ffosydd; yn eu blodau, ac yn rhoddi eu hâd, yn yr haf.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan lywodraeth Mars; ac y mae trwyth y dail hyn yn dda i'w hyfed yn erbyn y doluriau sydd yn y lwynau, ac i'r rhai hyny sydd yn gwneuthur dwfr yn boenus; y maent hefyd yn dda i wellhau holl ffaeledd yr iau a'r spleen, ac yn gyffredin yn agoryd y corph, ac yn ei gadw yn dymherus; i hyn yr oeddynt yn eu defnyddio yn yr amseroedd gynt. Gellir eu berwi a'u melysu â siwgr coch yn erbyn y pethau a enwyd eisoes: ond yr wyf yn rhoddi rhybudd i'r merched na chyffyrddont â hwy, yn enwedig y rhai beichiogion, neu o'r hyn lleiaf os bydd ganddynt amheuaeth eu bod felly, am eu bod yn peryglu eu bywydau; er y gall y rhai anystyriol eu cymeryd ar y bwriad o guddio eu pechod o ŵydd dynion, eto ni allant ei guddi o wyddfod y Duw byw, yr hwn sydd a'i lygad yn graffach na llygad barcut; a gwybyddant os lladdant y baban yn y groth, a hyny yn wirfoddol, ei fod yr un faint o bechod ger bron yr hollwybodol Dduw a phe byddent yn lladd un deg ar hugain oed: a pheth arall eto, wrth feddwl cuddio eich pechodau o ŵydd dynion, gellwch trwy hyny fod yn foddion i guddio eich cyrph yn y ddaear, ond ni chuddiwch

mo'ch pechod o ŵydd Duw; am hyny mi a'ch cynghoraf, er mwyn eich cyrph a'ch eneidiau, i adael pob peth yn llonydd os bydd niwaid ynddynt, am fod digon o gynghorion yn y llyfr heb ddim niwaid ynddynt. Y mae trwyth y dail hyn hefyd yn dda i'w chymeryd yn dufewnol ac yn allanol at esmwythau poen yn y cymalau; y mae hefyd yn dda i'w hyfed yn erbyn gwenwyn, sef i'r rhai sydd trwy eu hanwybodaeth wedi cymeryd trwyth rhyw ddail gwenwynllyd neu rywbeth o'r cyffelyb; gellir eu cymeryd fel ag y rhagddywedwyd, sef eu berwi mewn dwfr neu win, a'i felysu â mêl, gan yfed dracht o hono nos a bore.

---

## *White Saxifrage.*—LLYSIAU TORMAEN.

Y MAENT yn tyfu yn gyffredin mewn gweirgloddiau, ac mewn tir tywodlyd a bras ar amserau. Y mae y dail yn eu blodau yn mis Mai, ond rhaid hel eu hâd yn fuan, onidê hwy a syrthiant i'r ddaear.

*Rhinwedd.*—Y maent yn tyfu o dan awdurdod y Lleuad; y maent yn dda rhag y gareg a'r grafel, trwy eu bod yn help i dòri a thoddi y gareg yn y chwysigen, ac i ymadael â'r graian wrth wneuthur dwfr: y modd ag y maent yn cael eu defnyddio yn gyffredin ydyw cymeryd powdr o'r hadau neu y gwraidd mewn gwin gwyn; gellir cymeryd llonaid llwy

dê o'r powdr ar lasiaid o win gwyn, neu ddistilio y blodau neu'r dail, a chymeryd llwyaid neu ddwy hwyr a bore, fel y byddo'r oed.

---

### *Hare's-foot.*—Troed yr Ysgyfarnog.

Y mae y dail hyn o faintioli bychan yn gyffredin. Y dail hyn sydd i'w defnyddio yn sychion at stopio y *terms*, sef y cyrsiau misol, pan y b'ont yn cerdded yn ormodol, a'r gwynion yr un modd; y maent yn dda hefyd yn y clwy' gwaed; berwch y dail yn drwyth gref, a melyswch â siwgr gwyn, gan ei chymeryd haner yn haner gyda gwin coch yn fynych.

# CYFARWYDDIADAU

I

# GASGLU, SYCHU, A CHADW'R LLYSIAU

YN DDILWGR TRWY Y FLWYDDYN.

---

*Am y Dail.*

CESGLWCH y rhai sydd yn leision ac yn llawn o sug, a phigwch yn fanwl y gwywedig a'r llygredig, i'w taflu allan fel pethau o ddim gwerth, onidê fe lygra y lleill oddiwrthynt; a chesglwch hwy cyn iddynt flodeuo na hadu, o herwydd fod eu nerth yn myned i'r topiau; ond os na fydd cyfleusdra yn rhoi i'w tori cyn iddynt hedeg, cymerwch eu topiau, a gwnewch ddefnydd o honynt: sychwch y dail yn ngwres yr haul, a rhoddwch hwy mewn cydau papur, gan eu gwnïo i fyny a'u cadw mewn lle sych yn agos i'r tân. Nis gallwn ddywedyd yn gywir am eu parhad mewn nerth, oblegyd eu bod yn wahanol i'w gilydd; y rhai a helier mewn tir sych a geidw yn hŵy na'r rhai mewn tir llaith; gellwch ddeall pan gollont eu lliw

a'u harogl, eu bod wedi colli eu nerth hefyd: na wnewch ddefnydd o'r rhai llygredig, rhag iddynt lygru eich cyrph fel ag y maent eu hunain yn llygredig.

---

### *Am y Blodau.*

Y BLODAU yw harddwch y llysiau, —y maent i'w casglu pan y b'ont yn eu *prime*, a phan fo'r haul yn tywynu arnynt, ac heb fod yn wlybion gan na gwlaw na gwlith; os heliwch hwy yn wlybion ni chadwant yn hir. Cynhauafwch yn ngwres yr haul, a chedwch mewn cydau papur yn agos i'r tân, fel y dangosais o'r blaen, ac mor hir ag y cadwont eu harogl, hwy a gadwant eu nerth.

---

### *Am yr Hadau.*

DEALLWCH hyn, fod holl nerth y llysiau yn yr hâd; sychwch ychydig arnynt yn ngwres yr haul, a chedwch hwynt fel y dangosais o'r blaen, ond nid rhaid i chwi ofalu cymaint am eu cadw yn agos i'r tân, o herwydd eu bod yn gryfach na'r lleill, ac a gadwant lawer o flynyddoedd, ond gwell ydynt y flwyddyn gyntaf.

---

### *Am y Gwraidd.*

DEWISWCH y rhai anllygredig o honynt, a'r rhai a f'o heb gael eu bwyta gan bryfaid, ac

yn eu lliw, eu blas, a'u harogl, heb fod yn rhy galed nac yn rhy feddal; cesglwch ar amser sych, a'r rhai a fo'n feddal o honynt sychwch yn ngwres yr haul, neu ar linyn yn nghongl y simnai, ond am y rhai caledion gellwch eu sychu fel y mynoch; eithr ofer yw eich gwaith i sychu y rhai sydd i'w cael trwy'r flwyddyn, ond eu hel pan f'o eisiau.

---

### *Am y Sug.*

Y MAE hwn i'w wasgu allan o'r dail, y blodau, neu'r topiau, neu ryw ran arall o'r llysiau, pan y byddont yn ieuaingc ac yn dyner; heliwch y dail pan na byddont yn wlybion gan na gwlaw na gwlith, onidê ni fydd y sug o werth dim i'w gadw; cnociwch y dail a gwasgwch allan eu sug trwy gwd llian, a phurwch, trwy dynu y sothach allan o hono, fel y canlyn,—rhoddwch ar y tân mewn *skellet*, a berwch, a phan godo y *froth* heliwch i'w daflu ymaith, a daliwch ar y tân hyd nes y derfydd a ffrothio; ar ol iddo oeri potelwch a rhoddwch ar ei wyneb ddwy fodfedd o *sweet oil*, yr hyn a geidw'r awyr o hono, trwy ei fod yn wastadol yn nofio arno; os caiff gwynt fyned ato ni fydd o ddim gwerth; pan y byddoch ar fedr gwneuthur defnydd o hono, tywelltwch beth o hono allan, a scumiwch yr *oil* i'w roddi yn y botel; hyn a'i ceidw yn berffaith am hir amser.

## *Am* Syrup.

Y FFORDD i wneuthur *Syrup* yw cymeryd peint o'r sug, wedi ei buro yn ol y cyfarwyddyd o'r blaen, ac at bob peint rhoddi pwys o siwgr coch, a berwch yn nghyd, a scumiwch y *froth* i'w daflu i ffordd, ac wedi iddo ferwi digon straeniwch trwy liain, a chedwch, hyd nes delo angen am dano, mewn gwydrau neu lestri pridd, ac na chorciwch, nid rhaid i chwi ond rhoddi papur ar ei wyneb a'i rwymo âg edau; fe geidw am flwyddyn neu ychwaneg. Mae hyn yn llawer mwy rhinweddol na berwi y dail at y doluriau y byddont yn berthynol. Os bydd i chwi fanwl chwilio y llyfr hwn, a gwneyd yn ol y cyfarwyddyd a osodais i lawr ynddo, gellwch gael budd a lleshad corphorol oddiwrtho pan ag y byddwyf fi wedi myned i ffordd yr holl ddaear.

---

## *Y ffordd i gyfaddasu y dail at natur y doluriau, yn dufewnol neu'n allanol.*

DEUAF yn bresenol i ddangos i chwi y ffordd oreu i wneuthur defnydd o'r dail, fel y byddont yn fwy cyfaddas at yr amrywiol ddoluriau, pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol y b'ont. Yn gyntaf daliwch sylw ar natur y dolur, pa un ai poeth ai oer ydyw, a pha un ai trwy ormod o wres neu ormod o oerfel y bydd

wedi magu; ac os trwy oerfel, ac wrth natur yn oer, yna cymerwch y dail sydd wrth natur yn boeth: ac os bydd y dolur wedi dyfod trwy wres ac wrth natur yn boeth, rhaid cymeryd y dail sydd wrth natur yn oer; pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol y byddo'r doluriau. Ond i'ch gwneyd yn fwy deallus yn natur y dail, myfi a roddaf y rhai poethion yn eu natur i lawr gyda'u gilydd, a'r rhai oerion yn yr un modd, fel y galloch weled pa rai sydd gyfaddas i'r clwyf, a pha rai nad ydynt. Ond deallwch fod llawer mwy o rai poethion yn eu natur wedi eu casglu na'r rhai oerion yn eu natur, o herwydd fod y doluriau sydd yn magu trwy oerfel yn fwy aml yn y gwledydd hyn. Myfi a ddangosaf yn bresenol y rhai poethion yn eu natur, yn gyntaf, fel y canlyn,—

Llysiau y dryw, llysiau yr angel, bôm, cribau St. Ffraid, cacamwci, dail cwrw, banadl, camomil, llysiau carn yr ebol, llym y llygaid, celyn y môr, y dorfagl, gwraidd rhedyn, ffenigl, llysiau yr esgyrn, llwyd y cŵn, dail gwiwydd, llysiau y fam, gwallt y forwyn, *mustard*, mintys, clust y llygoden, llysiau Ifan, gold Mair, dail poethion, paladr y wal, persli, llygaid Ebrill neu lysiau'r peils, rhôs Mair, *rue* y gerddi, *sage*, chwerwlys yr eithin, *Solomon seal*, *juniper-berries*, ysgall bendigaid neu gribau Mair, *thyme*, dail ysgyrfi, *smallage*, triagl y moch, *tansy*, wermod. Dyna enwau y rhai poethion yn eu natur, pa rai sydd i'w

defnyddio at ddoluriau a fo wedi magu trwy oerfel.

Yn nesaf cewch y rhai oerion yn eu natur, y rhai sydd fel y canlyn,—

Troed yr ŵydd neu lysiau'r fam wyllt, y ben galed, dail llwyn hidl, llysiau'r ychain, lili'r gerddi, lili'r dwfr, llygaid y dydd, dail yr hocys, rhôs cochion, pwrs y bugail, dant y llew, *comphrey*. Dyna i chwi enwau y rhai sydd oerion yn eu natur, fel pan fyddo arnoch eisiau oeri'r ystumog, y gwaed, neu ryw ranau tufewnol neu allanol, gellwch yn hawdd wneyd hyny gyda rhai neu y cwbl o'r dail hyn; ac os bydd y gwaed yn rhy oer ac eisieu ei wresogi, gellir ei dymheru â'r rhai poethion a enwyd.

Ni ddywedaf ddim yn ychwaneg am natur y dail. Myfi a adawaf i chwithau ganfod allan natur y dolur eich hunain, ac yna gellwch yn hawdd trwy ddarllen yma ganfod natur y dail, a thrwy hyny drefnu meddyginiaeth gyfaddas i'r clwyf.

# CYNGHORION

## I IACHAU

# AMRYWIOL GLEFYDAU.

*Rhag y Darfodedigaeth* (Consumption,) *os cymerir mewn pryd.*

Cymerwch lonaid llaw o *hoarhound* a haner hyny o *rue*'r gerddi, mewn dau chwart o ddwfr, a dau bwys o siwgr coch ynddo; a'u berwi yn nghyd nes lleihao'r haner; potelwch a chymerwch o hono dair llonaid llwy fwrdd bob bore ar eich cythlwng.

*Rhag y Cryd.*

Cymerwch gamomile, llysiau'r dryw, cribau St. Ffraid, a dail, neu wraidd carn yr ebol, gwraidd celyn y môr, a hops, yr un faint o bob un, a berwch hwynt oll mewn dwfr, a rhoddwch ynddo ddigon o driagl, ac yfwch o hono pan fyddoch yn gynhes yn y gwely; a chwyswch ddwy awr ar ei ol.

*I gryfhau'r Ystumog.*

Cymerwch beppermint, cribau St. Ffraid, a suran y gog, yr un faint o bob un, a'u berwi yn nghyd mewn dwfr, a rhoddwch ynddo ych-

ydig siwgr, neu ryw beth cyfaddas, ac yfwch o hono wrth eich rheswm.

---

### *Rhag Brathiadau Côn cynddeiriog a Nadroedd.*

CYMERWCH fôm, gwraidd cacamwci, mintys, hâd neu wraidd Aleesander, cribau St. Ffraid, ysgaw Mai, dail llyriaid, a *rue* y gerddi, yr un faint o bob un, a berwch hwy mewn gwin gwyn, ac yfwch ef, gan roddi y dail yn allanol ar y lle.

---

### *Rhag Poeri Gwaed.*

CYMERWCH gribau St. Ffraid, dail mieri, rhosus cochion, a dail tafol cochion, yr un faint o bob un, a berwch hwynt yn nghyd mewn gwin coch, (y neb na allo gael gwin, rhaid iddo gymeryd dwfr;) a melyswch a siwgr gwyn, ac yfwch yn fynych o hono, ac iach a fyddwch.

---

### *Rhag Piso Gwaed.*

CYMERWCH gwmphri, dail llyriaid, a *smallage*, at yr un faint o bob un, a berwch hwynt yn nghyd, gan roddi haner pwys o siwgr gwyn i bob peint o hono, ac yfwch ef, ac iach a fyddwch.

---

### *Rhag Pâs ar Blant.*

CYMERWCH ddail yr hocys, *thyme* y gerddi, a *thyme* gwyllt, a berwch hwynt yn nghyd, a

melyswch â siwgr candi, a gadewch i'r plentyn yfed yn helaeth o hono.

---

*Rhag y Darfodedigaeth* (Consumption), *mewn hen ac ieuangc.*

CYMERWCH wraidd cacamwci, gwraidd dart y llew, gwraidd carn yr ebol, *hoarhound, juniper-berries*, a *raisins* yr haul, a berwch oll yn nghyd, a rhoddwch ynddo yn bur helaeth o siwgr coch, gan eu berwi am hir amser ar dân araf, mewn llestr cauedig; cymerwch lonaid cwpan dê o hono yn dwymn dair gwaith yn y dydd.

---

*Rhag Ffitiau'r* Convulsions.

CYMERWCH gribau St. Ffraid, brymlys, a dail y gwiwydd, at yr un faint o bob un, a berwch mewn gwin a dwfr, ac yfwch o hono yn fynych, a byddwch iach.

---

*Rhag Pesychu.*

CYMERWCH ddail cwrw, cribau Sant Ffraid, gwraidd neu flodau carn yr ebol, hâd cywarch, *hyssop*, dail tafod y ci, neu ddail tafol, *juniper-berries*, gwallt y forwyn, gwraidd yr hocys, dail clust y llygoden, mwstard gwyllt, rhôs-mair, a *sage*, at yr un faint o bob un; y rhai sydd gyfoethog a allant yn llwyddiannus eu

berwi mewn gwin, ond y mae'n debygol y bydd rhaid i'r tlodion eu berwi mewn dwfr, a'i felysu â mêl neu siwgr coch. Nid yw ond ofer rhoddi cyfarwyddyd i'w gymeryd, yr wyf yn dysgwyl y gwna eich deall naturiol eich cyfarwyddo, fel ag y byddo y clwyf yn gofyn, a'ch nerth chwithau yn cynal.

---

### *Rhag Llosg Tân.*

CYMERWCH beint o *oil* traed defaid, pedair wns o *red lead*, ac un wns o gŵyr melyn, berwch yn nghyd am dair awr, ar dân araf, gan ei droi; ac yna rhoddwch ato, yn niwedd y berwad, haner wns o *oil of elder*, neu ysgaw: gadewch iddo oeri, yna trwsiwch y dolur âg ef unwaith yn y dydd.

---

### *Un arall at yr un achos.*

CYMERWCH ychydig o *lapis powder* neu *brown dust* (gellwch ei gael yn siop y Druggist), a chymysgwch mewn dwfr eira: gellwch wneuthur digon yn y gauaf i barhau trwy y flwyddyn, a'i gadw at eich angen. Mae yn diffodd y tân ac yn iachau y dolur.

---

### *Un arall.*

CYMERWCH *linseed oil*, melyn ŵy, siwgr coch, ac ychydig ddwfr; cymysgwch yn dda hyd nes y tewycho, a chymysgwch ef hefyd bob tro cyn ei ddefnyddio.

*Un arall.*

CYMERWCH *spirits of wine, camphor, spirits of turpentine*, ac *oil of St. John*, yr un faint o bob un, ac eneinniwch y lle âg ef. Profwyd ei fod yn dda i ddiffodd y tân.

---

*Y ffordd i wneuthur Dwfr Llygaid.*

GYMERWCH haner peint o frandi, dau beint o ddwfr ffynon oer, ac un wns o *sugar of lead:* cymysgwch yn nghyd, a photelwch at eich gwasanaeth.

---

*Un arall.*

CYMERWCH sug llym y llygaid, dail llygaid y dydd, dail llyriaid, a llysiau'r esgyrn, yr un faint o bob un, a dodwch ynddo ychydig o fêl, a rhoddwch ohono yn eich llygaid fel y byddo yr angen yn gofyn.

---

*Rhag Dolur mewn Llygaid.*

CYMERWCH ddail llygad y dydd a llefrith, a berwi y ddau, a'i roi yn y llygaid, ac fe esmwytha yn fuan.

---

*I attal Gwaed mewn Briwiau.*

CYMERWCH ledr gwyn wedi ei losgi a'i wneyd yn bowdr, *bole armoniac*, a *dragon's blood*, a chymysgwch ychydig *spirits of wine* gyda hwynt. Profwyd.

### *Rhag Dolur mewn Ceg.*

Cymerwch bowdr gŵn, alum, *bole armoniac*, a mêl, yr un faint o bob un, a rhwbiwch y *gums* neu gig y dannedd â hwynt, gan beidio a llyngcu y poeri, ond gadael iddo redeg allan.

---

### *Rhag y Dropsi.*

Cymerwch y rhisgl melyn oddiar goed ysgaw, dail cwrw, eribau St. Ffraid, camomile, moron gwylltion, llym y llygaid, a rhisgl ysgaw Mai (i'w cymeryd yr un modd a'r lleill,) a gwraidd celyn y môr, *juniper-berries*, persli, paladr y wal, dail llyriaid, gwraidd dail tafol llydain, a *smallage*. Pob un sydd yn meddwl fod y clwyf hwn wedi dechreu arnynt, y mae yn werth eu trafferth gasglu yn fanwl y dail hyn yn nghyd, a'u rhoddi mewn llestr cauedig am hir amser ar dân araf; ac wrth ei botelu rhoddwch ddwy wns o fêl at bob peint, ac yfwch o hono yn fynych, ond yn y bore ar eich cythlwng.

---

### *Iattal y* Terms, *sef y Misglwyf.*

Cymerwch ddail *beets* cochion, dail mieri, dail *comphrey*, y dail a elwir llysiau'r llocr, llysiau'r gwaedlif, tansi gwyllt, a rhosus cochion, at yr un faint o bob un, a'u berwi mewn gwin coch, os gellwch ei gael; y rhai na allant gael gwin, berwch mewn dwfr, a rhoddwch

haner pwys o siwgr gwyn at bob chwart, ac yfwch yn fynych o hono wrth eich angen, a hyn, gyda chymhorth Duw, a'ch gwna yn gwbl iach.

---

*Un arall i'r un dyben.*

CESGLWCH y tansi gwyllt yn leision, os gellwch eu cael, a gwisgwch o dan wadnau eich traed, nesaf i'ch croen, yn eich esgidiau, a hyn sydd anffaeledig. Mae y cynghor hwn yn fwy ei werth na phris y llyfr i gyd.

---

*Un arall i'r un dyben.*

CYMERWCH rosus cochion, ac wedi eu cynhauafa, powdrwch a rhoddwch trwy ogr, a chymerwch ddwy lonaid llwy dê o hono ar lasiad o win coch, a hyn sydd anffaeledig.

---

*Cynghor i Blant wedi Teri eu Llen-gig.*

CYMERWCH Solomon seal, cribau St. Ffraid, dail mieri, a tansi gwyllt; cesglwch yr un faint o bob un, a berwch mewn dwfr, a dodwch ynddo siwgr gwyn; ac yfed y plentyn yn helaeth o hono yn dwymn, a rhoddwch y dail yn blastr o'r tu allan am naw diwrnod.

---

*Rhag y Cancr.*

CYMERWCH lysiau y dryw, ac yfwch drwyth y dail yn lle tê, ac ar amserau ereill hefyd;

gan eu rhoddi yn blastr ar y dolur, a'i newid bob yn ail diwrnod hyd nes y byddoch iach.

---

*I gryfhau y Golwg.*

Cymerwch y dorfagl, ac yfwch eu trwyth yn lle tê yn fynych, a rhoddwch y sug yn y llygaid; a hyn a wna y tro i'r hen bobl yn lle prynu gwydrau.

---

*Rhag Ysgafnder mewn Pen.*

Cymerwch lonaid llaw o fôm ac yr un faint o lysiau'r ychain, o gribau St. Ffraid, o lysiau'r fam, ac o rosus cochion; a'u berwi oll yn nghyd, gan eu hyfed fel diod gyffredin yn dwymn ac yn fynych.

---

*Rhag y Colic.*

Cymerwch lysiau'r angel, camomile, a gwraidd rhedyn y dwfr, a haner yr un faint o *rue* y gerddi; a berwch mewn gwin gwyn neu frandi, ac yfwch lasiaid o hono yn y ffit; neu ferwch mewn dwfr a chymerwch mewn gwin gwyn neu frandi, ac ail gymerwch os na thỳr y tro cyntaf.

---

*Rhag Dolur mewn Pen.*

Cymerwch rosmair, a chnociwch mewn mortar a rhoddwch mewn *teapot*, neu ryw lestr cauedig arall, yn nghẁr y tân am wythnos, a

gwin arnynt; ac yn y diwedd rhoddwch ferw iddynt, a hidlwch a photelwch ef, gan gymeryd llonaid llwy fwrdd o hono nos a bore, ond llai i blant yn ol ag y byddo eu hoed; eithr cofiwch am beidio a gadael iddo leihau yn nghŵr y tân.

---

*Rhag i Blant biso yn eu Gwelyau.*

RHODDWCH iddynt lonaid llwy fwrdd o sug llysiau'r gwaedlif, wedi ei felysu â siwgr gwyn, bob nos hyd nes peidiont.

---

*Rhag y Llyngyr.*

CYMERWCH gribau St. Ffraid, gwraidd rhedyn, wermod lwyd, chwerwlys yr eithin, dail cwrw, llysiau'r fam, suran y cŵn, *thyme* gwyllt a *thyme* y gerddi, a'r ferfain; berwch at yr un faint o bob un, a haner yr un faint o *rue* y gerddi, mewn dwfr, gan ei wneuthur yn drwyth gref, ac yfwch haner peint o honi bob bore; os i blant, gwnewch yn wanach a rhoddwch lai o honi.

---

*Rhag Crygni.*

CYMERWCH flodau neu wraidd carn yr ebol, *hyssop*, *liquorice powder*, o siop y Druggist, mwstard gwyllt y cloddiau, a hâd danadl poethion, gan gyd-ferwi at yr un faint o bob un, ac yn niwedd y berwad rhoddwch bedair

wns o fêl, a dwy wns o siwgr candi at bob chwart, a photelwch, gan gymeryd llonaid cwpan dê o hono hwyr a bore, a chwi a fyddwch iach.

---

*Un arall rhag Gwichian a Chrygni mewn gwddf trwy ddiffyg anadl.*

Cymerwch had ffenigl wedi eu powdro a'u cymysgu mewn mêl, lonaid llwy dê dair gwaith yn y dydd.

---

*Diod i iachau Briwiau.*

Cymerwch eiddew'r ddaear, sef llysiau'r esgyrn, cribau St. Ffraid, gwraidd dail tafol cochion, y ben-galed, a'r gantwll, a berwch yn nghyd mewn diod fain, gan roddi burum ati, ac yfwch haner peint o honi yn dwym nos a bore, a byddwch iach.

---

*Rhag y Clwyf melyn.*

Cymerwch suran y cŵn, llysiau yr ychain, gwraidd banadl, llym y llygaid, gwraidd ysgall bendigaid, gwraidd ffenigl, hops, a *hoarhound*, llonaid llaw o bob un, a berwch mewn pedwar chwart o ddwfr hyd nes y lleiha yn dri, a rhoddwch ynddo bwys o driagl, ac yfwch haner peint o hono yn dwymn, yn y bore, a haner peint arall yn y nos.

*Un arall at yr un achos.*

Cymerwch y wermod lwyd a'r wermod wen, Solomon seal, y falerian, suran y gôg, y pren melyn, a chribau St. Ffraid; cesglwch at yr un faint o bob un, a naddwch y pren melyn yn ysglodion mân, yr un faint ag o'r lleill; gan eu rhoddi yn ngwlych dros nos mewn pedwar chwart o hen gwrw, ac yn y bore berwch ar dân araf hyd nes y b'o iddo leihau un chwart; yn niwedd y berwad rhoddwch ynddo haner wns o *safron*, a berwch drachefn am bum' munud, yna tynwch i lawr wedi ei gau yn dŷn, a phan yr oero ystraeniwch a photelwch, a chymerwch o hono lonaid cwpan dê yn dwymn.

---

*Rhag piso Gwaed.*

Cymerwch lysiau'r dryw, dail llwyn hidl, *thyme* y gerddi a *thyme* gwyllt, dail rhôs cochion, llonaid llaw o bob un; a berwch hwynt mewn pum' peint o ddwfr, nes iddo leihau un peint: a rhoddwch ynddo haner pwys o siwgr gwyn, ac yfwch haner peint o hono hwyr a bore yn dwymn.

---

*Rhag y Ddannodd.*

Cymerwch lysiau'r angel, bôm, a dail mieri, yn leision, yr un faint o bob un, a gwasgwch eu sug, gan ei roddi yn nhwll y dant, ac iach fydd.

*Un arall at yr un achos.*

CESGLWCH *dyme* gwyllt a *thyme* y gerddi, a gwasgwch eu sug, a hyn a esmwytha y boen: ond y cynghor goreu ydyw tynu allan y dant bydd yn llygru, rhag iddo lygru un arall a fo'n nesaf ato.

---

*I attal Cyfogi, ac i gryfhau r Ystumog.*

CYMERWCH ddail llyriaid, dail llwyn hidl, mintys, bôm, cribau St. Ffraid, dail rhôs cochion, dail derw, brenhines y weirglodd, a rhôsmair; cesglwch lonaid llaw o bob un, a berwch yn nghyd mewn pedwar chwart o ddwfr nes elo yn dri, ac yfwch lonaid cwpan dê o hono dair gwaith yn y dydd.

---

*I wellhau y Spleen.*

CYMERWCH wraidd marchalan, camomile, gwraidd celyn y môr, a gwraidd rhedyn y dwfr, haner pwys o'r tri cyntaf, a chwarter pwys o wraidd y rhedyn, a rhoddwch mewn pedwar chwart o ddwfr, a berwch nes iddo leihau'r haner, ac yn niwedd y berwad rhoddwch ynddo beint o win gwyn, a phwys o siwgr coch, a chymerwch lonaid cwpan dê o hono nos a bore yn dwymn.

---

*I ostwng Chwydd yn y Corph.*

CYMERWCH ferw y dwfr, *lercitus*, banadl, camomile, dail llyriaid, a wermod, yr un faint

o bob un ond y banadl a'r wermod, haner yr un faint o'r rhai hyny; a berwch mewn diod fain, a rhoddwch ynddo fêl, ac yfwch o hono yn dwymn, wrth eich angen a'ch deall.

---

*I ostwng Chwydd allanol.*

CYMERWCH ddail ysgaw, dail gwyddfid, a llysiau y feddyglys, llonaid llaw o bob un, a berwch mewn breci melus, gan ei dewychu ef â blawd brag a blawd rhŷg, yr un faint o bob un, a rhoddwch fêl ynddo, a gwnewch yn ystwyth â saim gŵydd, *oil*, neu floneg, a rhoddwch yn blastr ar y lle.

---

*Diod rhag y Scurvy.*

CYMERWCH ferw'r dwfr, *juniper-berries*, dail ysgyrfi, a gwraidd dail tafol cochion, a berwch yn nghyd yr un faint o bob un, nes y byddont yn ddiod gref iawn, a gwnewch yn lled siarp â *cream of tartar*, ac yfwch yn helaeth o honi nos a bore.

---

*Cynghor i Ferched pan fyddo'u Terms wedi stopio.*

CYMERWCH lysiau'r dryw, llysiau'r esgyrn Alecsander, bôm, cribau St. Ffraid, dail cwrw, moron gwylltion, berw'r dwfr, gwraidd celyn y môr, *hourhound*, hâd dail peethion, *juniper-*

*berries*, llysiau Ifan, y ferfain, paladr y wal, *lercitus*, *sage*, dail y gwyddfid, wermod, *rue* y gerddi, a ffeniw, a chesglwch lonaid llaw o bob un, ond y *rue* a'r ffeniw, haner llonaid llaw o'r rhai hyny: cewch y *juniper-berries* yn siop y druggist. Rhoddwch bedair wns o honynt gyda'r dail a enwyd, a berwch mewn galwyn a haner o ddwfr, ar dân araf, a chauad tŷn ar ei wyneb, hyd nes iddo leihau un galwyn, yna rhoddwch ynddo, wedi y berwad, beint o fêl, ac yfwch haner peint o hono yn dwymn nos a bore.

---

## *Rhag Dolur y Gareg, a Phoen yn y Cefn.*

Cymerwch ddail cwrw, blodau banadl, dail llyriaid, cacamwci, camomile, moron gwylltion, dail *cherries*, berw'r dwfr, ychydig hâd mustard wedi eu hysigo, clust y llygoden, hâd danadl poethion, paladr y wal, *rhubarb*, gwraidd dail tafol, suran y gôg, a *smallage*, yr un faint o'r dail hyn oll, a rhoddwch ynddo ychydig hâd llîn a thwysged o fêl, ac yfwch yn fynych o hono. Da fyddai i bawb sydd a'r grafel arnynt yfed y ddiod hon.

---

## *Cynghor i Wragedd rhag* Miscarriage.

Cymerwch *sage*, a *tansy* gwyllt, yr un faint o bob un, cnociwch a gwasgwch allan eu sug, a chymerwch lonaid llwy fwrdd o hono yn lled fynych.

### *Rhag Dolur mewn Bol.*

CYMERWCH gamomile, *tansy* gwyllt, a moron gwylltion, berwch yn nghyd, a chymerwch ddracht helaeth o honi yn boeth yn fynych.

---

### *Rhag y Polsi.*

CYMERWCH gribau St. Ffraid, dail cwrw, *sage*, a dail briallu, yr un faint o bob un, ac ar ol eu cynhauafa a'u powdro, cymysgwch eu powdr yn dew mewn mêl, a chymerwch lonaid llwy dê o hono ddwywaith yn y dydd.

---

### *Un arall at yr un achos yn allanol.*

CYMERWCH rhôs Mair, *sage*, *lavender*, dail cwrw, *smallage*, camomile, *rue* y gerddi, mintys, wermod, cribau St. Ffraid, *lercitus*, a'r gantwll, llonaid llaw o bob un, berwch mewn dwfr, a golchwch yr aelodau clwyfus â'r dwfr mor boeth ag y gellir ei oddef, gan or wedd ar ol y golchiad mewn blancedi bob nos.

---

### *Rhag y* Peils.

CYMERWCH ddail mieri, dail *comfrey*, dail pocthion, gwraidd tresgl y moch, a phaladr y wal, llonaid llaw o bob un, a berwch mewn

pedwar chwart o ddwfr ar dân araf, ac yfwch hanner peint o hono hwyr a bore, a byddwch iach.

---

### *Eli i iachau y* Peils.

CYMERWCH ddail llygaid y dydd, a llygaid Ebrill neu ddail y *peils* (nid rhaid i chwi ond codi eu gwraidd, cewch weled dull y *peils* arnynt), a chymerwch eu gwraidd a'r un faint o lygaid y dydd, curwch yn nghyd a berwch mewn bloneg hyd nes y byddont yn crebychu, ac yna ystraeniwch ac irwch y *peils* âg ef.

---

### *Rhag y* Melancholy.

CYMERWCH fôm, llysiau'r fam, a llysiau yr ychain, at yr un faint o bob un, a berwch yn nghyd mewn dwfr a gwin gwyn, ac yfwch fel diod gyffredin. Neu bowdrwch y dail a chymysgwch mewn mêl, a chymerwch ar lwy dê amrywiol weithiau yn y dydd; neu gymerwch un dram o'u powdr ar win gwyn ddwywaith yn y dydd, a dyma'r ffordd oreu yn fy marn i.

---

### *I gryfhau y Côf.*

CYMERWCH y dorfagl, gwraidd yr ysgall bendigaid, *juniper-berries*, a lili'r dwfr, yr un faint o bob un, a berwch ar dân araf, a gwnewch hwynt fel diod fain, ac yfwch wrth eich syched.

## *I ychwanegu Llaeth.*

CYMERWCH lysiau'r ychain, ffenigl, a dail yr hocys, yr un faint o bob un, a berwch mewn llefrith, ac yfwch fel y byddo yn angenrheidiol.

---

## *Rhag Ffitiau neu Wynt y Fam.*

CYMERWCH lysiau'r fam wyllt neu droed yr ŵydd, a llysiau'r fam ddof, moron gwylltion, a phaladr y wal, at yr un faint o honynt oll, a rhoddwch ddwfr berwedig arnynt mewn llestr cauedig, a chedwch mewn gwres, ac yfwch o hono wrth eich angen.

---

## *Cynghor i wellhau y Manwynau.*

CYMERWCH wraidd march alan, a churwch yn nghyda halen ac ychydig finegr, a rhoddwch ar y dolur cyn iddo dòri, ac fe a'i gwellha yn fuan.

---

## *Un arall.*

CYMERWCH ddail bysedd cochion, curwch a berwch mewn dwfr, a gwnewch yn bowltis hefo blawd ceirch, a daliwch wrtho hyd nes y toro, ac ar ol hyny fe wna hwn ei sugno, ei sychu, a'i groeni yn gwbl iach.

*Un arall.*

Cymerwch lysiau Ifan, a gwraidd celyn y môr, gan eu curo yn nghyda bloneg, a'i newid un waith yn y dydd.

---

*Rhag yr Igian.*

Cymerwch wraidd neu hâd ffenigl a dail mintys, gan eu berwi mewn dwfr ac yfed o hono yn dwymn.

---

*I iachau y* Pox.

Cymerwch dri phwys o wraidd celyn y môr, un pwys o *sage* gwylltion, a chwarter pwys o *hops*, a'u berwi mewn pum' chwart o ddwfr, nes y lleihao i bedwar chwart, yna hidlwch a rhoddwch ynddo bwys o driagl, a gweithiwch â burum, a'i yfed fel diod gyffredin, ond rhaid dal ato am hir amser.

---

*Cynghor i rai sydd a'u Gwynt yn drewi.*

Cymerwch fintys a rhôs Mair, a berwch yn nghyd, a golchwch eich genau âg ef bob bore.

---

*Un arall.*

Cymerwch hâd *smallaje*, wedi eu powdro, i'w cymeryd mewn mêl, neu eu berwi mewn dwfr, a'i yfed yn fynych.

*I wellhau Gwynt fo'n drewi trwy'r Cancr.*

CYMERWCH sug suran y gôg a mêl, a golchwch eich genau â hwynt yn fynych.

---

*I wellhau y Frêch Goch.*

CYMERWCH wraidd tresgl y moch, a berwch ddau bwys o honynt, wedi eu glanhau, mewn tri pheint o ddwfr, nes elo yn chwart, a rhoddwch haner pwys o driagl ynddo, ac yfwch lonaid cwpan dê o hono yn gynhes dair gwaith yn y dydd, a hyn a'i teifl allan yn brysur, ac a iacha'r galon.

---

*Rhag y Frêch Wen.*

CYMERWCH haner wns o flodau gold Mair, a haner wns o *safron*, a rhoddwch ddau chwart o ddwfr berwedig arnynt, mewn llestr cauedig, gan ei gadw yn nghŵr y tân, a rhoddwch haner pwys o fêl ynddo; ac os i blentyn y bydd, rhoddwch iddo lonaid llwy fwrdd yn lled fynych; ond os i un yn ei oed a'i nerth, gall ei gymeryd yn helaethach.

---

*Cynghor i rai Trwm eu Clywed.*

CYMERWCH sug llysiau'r angel, a dyferwch ychydig o hono i'ch clustiau bob nos, gan roddi gwlan ynddynt a chadw cynhesrwydd.

### *Un arall.*

CYMERWCH o sug *savory* ac *oil of roses*, gan eu cymysgu yn nghyd at yr un faint o bob un, a'i roddi yn dwymn yn y clustiau bob nos, gan gadw cynhesrwydd; a hyn a dŷr y swn yn y pen.

---

### *Un arall.*

CYMERWCH o sug ysgaw Mair, a sug celyn y môr, yr un faint o bob un, a dyferwch i'r clustiau, gan gadw cynhesrwydd.

---

### *I iachau y Bysen mewn Llygad.*

CYMERWCH o sug llysiau'r angel, ysgaw Mair, llym y llygaid, a'r dorfagl, yr un faint o bob un; cymysgwch âg ychydig fêl, ac ychydig o laeth bron, a dyferwch i'r llygad yn fynych.

---

### *I wellhau y Polsi sydd yn gwneuthur i'r dwylaw grynu.*

CYMERWCH flodau ysgaw Mair, a distiliwch yn mis Mai, a golcher y dwylaw âg ef nos a bore; hyn a'u gwllha, ac a gryfha y ge . wynau.

---

### *Rhag y* Gout.

CYMERWCH ddail llygaid y dydd, cribau St. Ffraid, bôm, a chrafange yr arth, a berwch oll

mewn dwfr, a golchwch y chwydd â'r drwyth yn fynych. Neu gymerwch ddail llygaid y dydd, a berwch mewn bloneg nes y byddont wedi crebychu, ac yna ystraeniwch trwy liain, ac irwch y *gout* â'r enaint.

---

### *I chwalu Gwynt o'r Cylla neu'r* Stomach.

CYMERWCH rhôs Mair wedi eu powdro a'u rhoddi trwy ogr, a chymerwch haner dram o honynt, nos a bore, ar win gwyn.

---

### *Eli i lanhau Briwiau.*

CYMERWCH haner pwys o sug *smallage*, pedair wns a haner o fêl, ac wns a haner o beilliaid; berwch hwy yn nghyd hyd nes y tewychont, a chedwch i lanhau hen friwiau dyfrllyd a drewedig.

---

### *Un arall i'r un dyben ond yn fwy awdurdodol i fwyta Cig marw.*

CYMERWCH bedair wns o sug *smallage*, yr un faint o sug llym y llygaid, un wns o *verdigris*, pedair wns o fêl, a dwy wns o finegr, a'u berwi yn nghyd ar dân araf, hyd nes tewychont. Defnyddiwch ef yr un modd a'r llall.

Nid yw hwn berthynol i un math o friwiau ond y rhai sydd a chig marw ynddynt.

### *Enaint i wellhau Cymalau ac Aelodau a f'o wedi cael eu rhwymo mewn oerfel.*

Cymerwch haner pwys o ddail cwrw, yn leision, a chwarter pwys o ddail *cabbage*, a berwch mewn pum' pwys o saim traed defaid, a dau bwys o wêr eidion, hyd nes y byddo'r dail wedi crebychu ynddo, yna ystraeniwch a chadwch yn barhaus i iro y gewynau a'r aelodau clwyfus, pan f'ont yn pallu trwy oerfel.

---

### *Enaint i'r Gewynau, ac i wellhau holl ffaeledd yr Aelodau o herwydd oerfel.*

Cymerwch *sage*, rhôs Mair, *lavender*, dail cwrw, camomile, *rue* y gerddi, a wermod, llonaid llaw o bob un, ac o fintys, cribau St. Ffraid, y gantwll, a phersli, haner yr un swm, o saim traed defaid pum' pwys, o wêr defaid dau bwys, ac o *oil of spike* haner wns; curwch y dail, a berwch hwy yn nghyd â'r saim, y gwêr, a'r *oil*, ac ar ol iddo ferwi digon straeniwch trwy liain, a chadwch, fel peth o fawr werth, i eneinio'r aelodau pan y byddont glwyfedig a dyffygiol. Pa beth bynag yw, os bydd wedi magu trwy oerfel neu ystyffni yn y cymalau, neu'r aelodau yn diffrwytho gan y Polsi, neu ryw beth o'r cyfryw, ac os bydd y colic neu wynt yn yn y bòl, gellwch yn llwyddiannus

wneyd defnydd o hwn i eneinio y lle âg ef o flaen y tân, gan gadw cynhesrwydd. Dyma gynghor o fawr werth.

---

*I wneyd Plastr i dòri Colic, ac i esmwythau poen yn mhob rhan o'r Corph.*

Cymerwch y grawn neu'r *berries* sydd yn tyfu ar ddail cwrw, ac os na ellwch eu cael, cymerwch o'r dail wedi eu powdro, ddwy wns, o *venice turpentine* ddwy wns a haner, o *frankincense* a *mastich* haner wns, ac o fêl bedair wns, a gwnewch yn blastr trwy eu cymysgu a'u berwi yn nghyd; taenwch ar ledr a rhoddwch ar y lle clwyfus, pa un bynag ai ar y bòl neu ar yr aelodau: y mae wedi bod o fawr leshad amrywiol o droiau.

---

*Plastr da i'w roddi ar Esgyrn briwiedig ac i lanhau hen Friwiau.*

Cymerwch gribau St. Ffraid, yn leision, llysiau y dryw, *sage*, *lercitus*, llysiau y gwaedlif, a *comfrey*, gan eu curo a'u berwi mewn peint o win gwyn; pan ferwont ystraeniwch a thaflwch y dail ymaith, a chymerwch o *frankincense*, a *mastich*, wedi eu powdro, o bob un chwarter wns; cwyr gwỳn a *turpentine*, o bob un bedair wns, ac ystor ddwy wns; berwch yr holl bethau uchod yn y *gum* y berwyd y dail ynddo, a gwnewch yn blastr, a rhoddwch-

arledr wrth y lle briwiedig. Gellwch wneuthur cyn lleied ag a fynoch o hono, ond cymeryd llai o'r defnyddiau.

---

### *Y ffordd i wneuthur Eli da at bob math o Friwiau.**

CYMERWCH haner pwys o floneg wedi ei doddi, o blwm coch a phlwm gwỳn *(red and white lead)* wns a haner o bob un, o gŵyr melyn wns a haner, o ystor du un wns, ac o *venice turpentine* ddwy wns, a berwch am dri chwarter awr ar dân araf, a rhoddwch y *venice turpentine* ynddo agos ar ddiwedd y berwad, gan ei dynu i lawr a'i droi hyd nes oero.

---

### *Rhag y* Scurvy *yn y Dannedd.*

CYMERWCH dê *sage*, a rhoddwch ychydig o alum i doddi ynddo, a chymerwch gadach lliain a golchwch gig eich dannedd âg ef yn dda ac yn fynych; ac os ewyllysiwch wneuthur eich dannedd yn wynion, cymerwch un wns o alum wedi ei losgi a'i bowdro, a chwe' llwyaid o sug llym y llygaid, a chymysgwch yn nghyd, a rhwbiwch eich dannedd âg ef.

* Plastr da i'w roddi ar esgyrn briwiedig, at feddalhau a gostwng chwydd, a thymheru rhyw ran o'r corph a fyddo wedi ei niweidio trwy oerfel, a gellwch ei gael yn siop y Druggist dan yr enw *Oxycroceum Plaister.*

### *Rhag y Dwfr Poeth.*

CYMERWCH ychydig *salts of tartar*, ac yr un faint o *magnesia;* cymysgwch mewn ychydig ddwfr, a chymerwch lonaid llwy fwrdd o hono yn lled fynych, a hyn a wellha y dwfr poeth.

---

### *Cynghor i rai fo'n ducddol o fod yn rhwym.*

CYMERWCH *cream of tartar* wedi ei gymysgu mewn mêl, yn fynych yn y bore; a hyn a geidw y corph yn dymherus.

---

### *I ostwng Chwydd a f'o yn Mronau Merched o herwydd gormod o laeth.*

CYMERWCH ddwy wns o gŵyr melyn, a haner pwys o *linseed oil*, neu olew hâd llin, toddwch yn nghyd, a gwlychwch liain glân ynddo, at yr un faint a'r lle dolurus, pan ag y byddo yn dwymn, a rhoddwch ar y fron, neu ar y ddwy os bydd yn angenrheidiol; gwnewch hyn hyd nes y derfydd y boen a gostwng y chwydd.

---

### *Cyfarwyddyd i Fammaeth a f'o yn rhy brin o Laeth i'w Phlentyn.*

DEALLWCH gymaint a hyn, os bydd mammaeth yn gystuddiol, ac yn cario meddyliau trymion, fod hyn yn ei gwneuthur yn deneu-

ach, fel nas gall fod ganddi lawer o laeth, a'r hyn sydd ganddi nis gall fod yn iach; ac y mae bwydydd a diodydd sâl yn lleihau y llaeth, am hyny dylid ymwrthod â phob bwydydd drwg ac afiach, a bwyta y bwydydd goreu os gellir eu cael; a'r ddiod a ddylai fod o lefrith da, yn mha un y dylai fod hâd ffenigl yn ngwlych dros nos: *barley-water*, neu ddwfr haidd, sydd yn dda hefyd i'r un dyben. Neu gymeryd *barley-water*, a rhoddi dail ffenigl ynddo yn leision, a'i ferwi a'i felysu â siwgr, a'i yfed fel diod gyffredin: yn allanol, cymerwch ffenigl a *smallage*, yr un faint o bob un, a berwch mewn dwfr, a golchwch y frest âg ef mor boeth ag y gellir ei oddef: neu gurwch ddail mintys, a rhoddwch yn bowltis poeth ar y fron; neu gymerwch ffenigl, a phersli, llonaid llaw o bob un yn leision, gan eu curo yn nghyd, eu chwysu, a'u rhoi yn bowltis cynhes ar y fron, a hyn a ychwanega y llaeth.

---

### *I wellhau y* Paps, *neu ben y Fron.*

GWNEWCH bowltis o flawd ffa, a *sallad oil*, a rhoddwch yn gynhes ar y dolur, a newidiwch un waith yn y dydd, ac os bydd pen y fron yn chwydd caled, cymerwch lonaid llaw o *rue* y gerddi, a'r un faint o *hoarhound*, ac o fintis, a churwch y dail yn nghyd mewn mêl, a rhoddwch yn bowltis ar y lle hyd nes y byddo yn iach.

*I dori y Colic ar Ferched pan f'o eu hamser yn agoshau i eni Plant.*

Y MAE y boen hon ar rai amserau mor annyoddefol a'r boen wrth esgor, ac y mae y fydwraig anneallus yn aml yn cymeryd y naill yn lle y llall, ac ar rai gweithiau y maent yn dygwydd yn yr un munudau, yr hyn sydd yn gwneuthur eu poen yn llawer mwy; ond i brysuro at y cynghor,—cymerwch ddwy wns o *oil of sweet almonds*, un wns o *cinnamon water*, a phedwar dyferyn o *spirits of ginger*, ac i'r ferch ei yfed i gyd pan y byddo hi yn y ffit o'r colic.

---

*Rhag Dolur mewn Boliau Plant bychain.*

Os bydd o herwydd llyngyr, cymerwch gamomile, *rue*'r gerddi, ac ychydig o fustl eidion, curwch a berwch yn nghyd i'w gwneuthur yn bowltis, a rhoddwch ar y bol: os bydd o herwydd rhyw achos arall, rhoddwch iddynt un dram o *oil of sweet almonds* a siwgr candi. Gellwch hefyd yn llwyddiannus roddi iddynt haner dram o hâd *anis* wedi eu powdro, a'u cymeryd mewn rhyw beth cyfaddas.

---

*I gryfhau Plant bychain pan y byddont weiniaid newydd eni.*

CYMERED y fydwraig, neu ryw un arall, y plentyn mewn gwlanen gynes at y tân, a chy-

mered ychydig o win coch yn ei cheg, a'i roddi o'i cheg ei hun yn ngheg y plentyn; gwnewch hyn yn fynych, a rhoddwch liain wedi ei wlychu mewn gwin coch cynhes ar fol a brest y plentyn.

---

### *Rhag Ffitiau* Convulsion *ar Blant bychain newydd eni.*

DEALLWCH nas gall plentyn newydd ei eni gymeryd dim yn dufewnol, ond yn allanol. Cymerwch flodau camomile, a gwraidd lili y dwfr, a berwch yn nghyd mewn dwfr, a golchwch y plentyn âg ef yn dwymn, yn fwyaf neillduol asgwrn y cefn; ac ar ol ei olchi ef, eneinniwch ef drachefn â saim gŵydd, a rhwymwch ef mewn gwlanen i'w gadw yn gynhes: ac os na wna y pethau a enwyd y tro, cymerwch *oil of earth-worms*, *oil of lilies*, *oil of foxes*, ac *oil of turpentine;* y mae rhai neu'r cwbl o'r oilion hyn yn dda i eneinnio asgwrn y cefn o flaen ychydig wres, a'i rwymo ef mewn gwlanen.

Gellwch ddefnyddio y cynghorion hyn at blant a fyddo hynach, yn gystal ag i rai a fyddont newydd eni, os byddant yn dueddol i'r ffitiau *convulsion.* Deallwch hefyd fod yr oilion hyn, a phob peth arall a enwyd yn y llyfr hwn (ond y dail) i'w cael yn siop y druggist.

*I wneyd Powltis at gasglu Afiechyd i'r un fan, fel y gellir ei dòri a'i sugno allan.*

HAD llin, a hâd *fenugreek*, wedi eu malu a'u berwi yn nghyd, a'u tewychu â blawd brag, a rhoddi ynddo saim gwyn neu *sweet oil.*

---

*Un arall i'r un dyben.*

CYMERWCH wraidd lili wedi eu rhostio a'u cnocio gyda bloneg.

---

*Un arall.*

CYMERWCH wraidd neu ddail yr hocys, wedi eu berwi a'u tewychu â blawd brag, a rhoddwch ynddo saim i'w ystwytho.

---

*I dóri Chwydd coch yn fuan.*

CYMERWCH ddail bysedd cochion, dail duon da, a dail pen felen, wedi eu curo yn nghyd, a'u berwi, a thewychu y gymysgedd â blawd ceirch, a'i ystwytho â *sweet oil*, a'i roi ar y dolur, gan ei newid bob dydd.

---

*Y ffordd i wneuthur Eli da i lanhau hen Friwiau drewedig.*

CYMERWCH *verdigris* wedi ei bowdro, haner wns, mél chwe' wns, finegr tair wns, a berwch yn nghyd hyd nes y tewycho a throi i liw coch; a defnyddiwch mewn hen friwiau i'w glanhau.

### *Cyfarwyddyd i ddefnyddio amrywiol Oilion i esmwythau Poen.*

*Oil of sweet almonds, linseed oil, oil of St. John's wort, oil of earthworms, oil of elder, oil of turpentine, oil of amber, oil of swallows, oil of bricks,* saim gŵydd, saim iar, saim cŵn (wedi eu berwi a hel y saim,) camomile, *fenugreek seeds,* a dail cwrw: gan fod yr oilion a enwyd yn anadnabyddus i'r wlad yn gyffredin, y maent i'w cael gan y rhai sydd yn gwerthu *drugs,* wrth yr enw a roddwyd arnynt yma; ac os bydd rhyw fan ar yr aelodau yn boenus trwy oerfel, cymerwch ryw un o'r rhai a enwyd, neu gymysgwch amrywiol o honynt yn nghyd, a defnyddiwch o flaen y tân, a lapiwch â gwlanen yn gynhes; ond na ddefnyddiwch y pethau a enwyd uchod os bydd y dolur yn wresog yn ei natur.

---

### *I stopio Chwydd mewn Bron.*

CYMERWCH faip wedi eu rhostio, a chnociwch a rhoddwch ynddo *oil of roses;* newidiwch bob dydd, a golchwch y fron bob tro y newidioch y powltis â chamomile a dail yr hocys wedi eu berwi yn nghyd, mor boeth ag y gellir ei ddyoddef; hyn sydd yn dda i chwalu chwarenau.

---

### *Rhag y Clefyd Melyn.*

CYMERWCH ddwy bilsen yn y nos, o *gastile soap* a *safron* hyd nes byddoch yn iach, a

chadwch oddiwrth ddiod frag a llaeth, wrth eu cymeryd—ac iach a fyddwch.

---

*I stopio Gwaed mewn Briwiau.*

Cymerwch ddail poethion, a chnociwch a rhoddwch ar y lle: neu gymerwch *bole ammoniac* a thaflwch i'r briw; neu gymerwch *dragon's blood* a rhoddwch yn y briw; neu gymerwch rôs Mair, a dodwch yn y dolur; neu blisg wyau, wedi eu gwneyd yn llwch; neu *litharge, frankincense, mastich*, neu we pryf copyn. Y mae y powdr, &c., a enwyd i'w cael yn siop y druggist, rhyw un o honynt a wna y tro ond ei falu a'i roi yn y dolur.

---

*Un arall.*

Cymerwch *frankincense* un dram, *aloes* haner dram, ac wedi eu malu cymysgwch yn nghyd; pan f'o angen am dano cymerwch winwyn a chnociwch ef yn dda, yna cymysgwch hwy at dewder mêl, a gwlychwch gydyn o flew ysgyfarnog ynddo, a rhoddwch yn y briw, a gadewch yno hyd nes iachao, ac fe a ollynga ei afael ei hun; mae'r cynghor hwn yn fwy ei werth na phris y llyfr i gyd,—gellwch ei wneyd i fyny â dwy geiniog yn y siop.

---

*I lanhau Briwiau oddiwrth Gig marw.*

Myfi a enwaf amrywiol o'r pethau goreu i'r pwrpas hwn, ac yna gellwch gymeryd eich

dewis o honynt,—*caustic, verdigris. copperas, vitriol*, sef y gareg las, alum wedi ei losgi, halen wedi ei losgi, *antimony, mercury*, a *sublimate precipitate*, cymerwch eich dewis un o honyut at yr achos hwn.

---

*Rhag y Cryd-cymalau poeth, pan f'och yn ffaelio gorwedd yn y gwely.*

CYMERWCH *hemlock*, sef cegid mân sydd yn tyfu hyd y cloddiau, a *lettuce*, y maent yn tyfu yn y gerddi, a berwch yn nghyd mewn dwfr, a golchwch y lle poenus âg ef, yn fynych wrth fyned i'ch gwely. Ac os dewiswch yn well, gellwch ychwanegu atynt ddail paladr y wal, a dail rhos cochion, a'u gwneyd yn bowltis, a'i roi ar y lle gan ei newid bob dydd.

---

*I wneyd* Basilicon, *sef Eli i lanhau Briwiau.*

CYMERWCH gŵyr melyn, ystor, a *greek pitch*, pedair wns o bob un, a phedair wns a haner o *oil* cyffredin, a'u cymysgu yn nghyd trwy eu toddi yn raddol. Y mae yr eli hwn yn glanhau pob math o friwiau, ac yn eu hesmwythau.

---

*Eli at friwiau a thyllau drewedig yn y coesau.*

CYMERWCH *gum elemy, turpentine*, wns a haner o bob un, dwy wns o wer dafad, ac un wns o floneg mochyn, a'u toddi yn raddol ar

dân araf. Y mae hwn yn eli da rhagorol, ond na ddefnyddwch mewn un math o friwiau os byddant ar y gewyn.

---

### *Eli i groeni a sychu Briwiau.*

Cymerwch chwarter pwys o *oil of roses*, tair wns o gŵyr gwyn, haner wns o *bole ammoniac*, un wns o *litharge of gold*, haner dram o *camphire*, a'u toddi (y rhai sydd i'w toddi) a chymysgu y pethau ereill, a'u gwneuthur yn eli.

---

### *Plastr i gryfhau'r Ystumog.*

Cymerwch un wns o *mastich*, chwe' dram o *bole ammoniac*, chwarter wns o ddail rhos cochion, un wns o gŵyr melyn, un wns o *oil*, a'u gwneyd yn blastr a'i roddi ar y frest, wedi ei daenu ar ledr.

---

### *Un Arall.*

Cymerwch fintys, wermod, a dail cwrw, un dram o bob un, dwy ddram o ddail rhôs cochion, un dram o bupur hirion, tair dram o *mastich*, cŵyr melyn, ac ystor, pedair wns o bob un, un dram o *oil of spike*, ac *oil* cyffredin cymaint ag a'u gwna yn blastr.

# AM YR ARWYDDION A'R PLANEDAU.

YN gymaint a bod y Llyfr wedi ei wneuthur hyd yn hyn mor agos ag y gellais i'r hyn a addewais ar y cyntaf, sef rhoddi i chwi amrywiol a gwahanol rinweddau yr amrywiol lysiau meddygol, yn nghydag enwau y planedau pa rai sydd yn eu llywodraethu; mi a ychwanegaf etto eich cyfarwyddo ychydig, yn ol fy addewid, am natur y deuddeg arwydd a'r saith blaned, pa rai sydd yn rheoli ein byd ni, (sef y byd ag yr ydym am yspaid o amser yn byw ynddo,) trwy ddangos pa ddoluriau y maent yn llywodraethu arnynt, fel y gallo dyn deallus yn haws wneuthur daioni iddo ei hun, ac i'w gymydogion hefyd.

## AM Y DEUDDEG ARWYDD.

| | | | |
|---|---|---|---|
| *Aries*, Hwrdd .... | ♈ | *Libra*, Fantol .... | ♎ |
| *Taurus*, Tarw .... | ♉ | *Scorpio*, Sarph.... | ♏ |
| *Gemini*, Gefeilliaid | ♊ | *Sagittary*, Saethydd | ♐ |
| *Cancer*, Cranc .... | ♋ | *Capricorn*, Gafr ... | ♑ |
| *Leo*, Llew ........ | ♌ | *Aquarius*, Dyfrwr . | ♒ |
| *Virgo*, Forwyn .... | ♍ | *Pisces*, Pysg...... | ♓ |

Sylwch nad ydyw fy nyben yn y llyfr hwn i'ch cyfarwyddo yn yr arwyddion a'r planedau,

ddim yn mhellach na'r hyn sydd yn feddygol ynddynt, am mai at hyny y mae yn cyfeirio o'r dechreuad, ac felly i barhau hyd y diwedd.

---

### *Am yr Hwrdd* ♈ Aries.

Y doluriau sydd o dan yr arwydd hwn yw y frech wen, y ffitiau, dolur yn y pen, a phob peth a ddichon fod yn y pen a'r gwyneb; hefyd y frech goch, clefydau, confylsiwn, polsi yn y pen, a'r melancoli, y mae y rhai hyn oll o dan arwydd yr Hwrdd; ac mewn dyn y mae yn llywodraethu y pen a'r gwyneb.

---

### *Am y Tarw* ♉ Taurus.

Y doluriau sydd o dan yr arwydd hwn yw clwyf y brenin *(king's evil,)* y *wem*, a'r darfodedigaeth, a phob rhyw beth a fyddo yn blino y gwddf, yn dufewnol ac yn allanol.

---

### *Am y Gefeilliaid* ♊ Gemini.

Dyma y trydydd arwydd yn y *Zodiac*· y mae y doluriau sydd o dan yr arwydd hwn yn poeni y breichiau, yr ysgwyddau, y dwylaw, a doluriau yn yr ymenydd: gwelwch nad yr un arwydd sydd yn rheoli pob dolur.

## *Am y Cranc* ♋ Cancer.

Hwn yw y pedwerydd arwydd; y mae holl ddoluriau y frest o dan yr arwydd hwn, sef dolur yn y cylla, diffyg anadl, a cholli awydd i fwyd; hefyd y mae y pesychu, yr *asthma*, y *dropsy*, a'r hyn fyddo yn casglu ac yn tòri yn y frest, o dan yr arwydd hwn: ac mewn dyn y mae yn rheoli y frest, yr ascnau, yr iau, yr ysgyfaint, a'r cylla.

---

## *Am y Llew* ♌ Leo.

Y pummed arwydd yw hwn; a'r afiechyd sydd o dan ei reolaeth yw holl ddoluriau y galon, sef cryndod yn y galon, clefydau trymion, y confylsiwn, y pla, y frech wèn, y frech goch, y clwyf melyn, dolur y llygaid, a phoen yn y cefn a'r bol. Y mae yn rheoli y galon a'r cefn.

---

## *Am y Forwyn* ♍ Virgo.

Hwn yw y chweched arwydd; y doluriau sydd o dan reolaeth hwn yw y llyngyr, gwynt yn y corph, atalfeydd a chaledwch y spleen a'r fam, y melaucoli a natur ddrwg. Y mae hon yn rheoli y bol a'r spleen,

---

## *Am y Fantol* ♎ Libra.

Hwn yw y seithfed arwydd; a'r doluriau sydd dan yr arwydd hwn yw y gareg, y gravel,

poethdra a gwynt y colic, doluriau y lwynau, doluriau y chwysigen, anmhuredd y gwaed, a gwendid y cefn. Y mae hwn yn rheoli y lwynau a'r chwysigen.

---

### *Am y Sarph* ♏ Scorpio.

Hwn yw yr wythfed arwydd, a'r doluriau sydd o dan yr arwydd hwn yw y peils, y *pox*, ac amrywiol ddoluriau yn ffordd y dwfr, llengig briwiedig, a'r ysgyfi. Y mae hwn yn rheoli y dirgeloedd *(privates,)* yr eisteddle, a'r chwysigen.

---

### *Am y Saethydd* ♐ Sagittary.

Dyma y nawfed arwydd, a'r doluriau sydd dano yw y *gout* wyntog, sef gwynt a phoen trwy yr aelodau: os bydd briwiau, byddant yn wlybion, a phoethder yn y gwaed, a'r doluriau a geir trwy godymau, yn enwedig y rhai a geir trwy syrthio oddiar gefnau ceffylau. Y mae yn rheoli y cluniau, ac esgyrn penau y cluniau.

---

### *Am yr Afr* ♑ Capricorn.

Hwn yw y degfed arwydd, a'r doluriau sydd dan ei rheolaeth yw y *gout*, yr ymgrafu, crach, a streifiadau mewn aelodau; y mae y pethau hyn oll o dan yr arwydd hwn.

### *Am y Dyfrwr* ♒ Aquarius.

DYMA yr unfed arwydd ar ddeg, a'r doluriau sydd dano ydyw cloffni yn y fferau, y cylymau gwythi, y crydcymalau, ac afiechyd yn y gwaed. Y mae yn rheoli y coesau a'r fferau.

---

### *Am y Pysg* ♓ Pisces.

DYMA y deuddegfed arwydd, a'r doluriau yw cloffni y traed, pimples y gwyneb, a briwiau o herwydd anmhuredd y gwaed. Y mae yr arwydd hyn yn rheoli y traed a'u bodiau.

---

### AM Y PLANEDAU.

YN awr yr wyf yn dyfod at y saith blaned, pa rai sydd yn rheoli ar saith niwrnod yr wythnos.

♄ Sadwrn (*Saturn*,) yr hon sydd yn rheoli ar ddydd Sadwrn.

☉ Haul (*Sol or Sun*,) yr hwn sydd yn rheoli ar ddydd Sul.

☾ Lloer (*Luna*,) yr hon sydd yn rheoli ar ddydd Llun.

♂ Mawrth (*Mars*,) yr hon sydd yn rheoli ar ddydd Mawrth.

☿ Mercher (*Mercury*,) yr hon sydd yn rheoli ar ddydd Mercher.

♃ Iau (*Jupiter*,) yr hon sydd yn rheoli ar ddydd Iau.

♀ Gwener (*Venus*,) yr hon sydd yn rheoli ar ddydd Gwener.

---

*Am y Sadwrn* ♄ Saturn.

Y mae Sadwrn yn un o'r planedau mwyaf, ac y mae *Jupiter* rhyngddi hi a'r Haul yn y ffurfafen; y mae ei phellder oddiwrth yr Haul yn 906,000,000 o filldiroedd, ac y mae yn trafaelu 78,000 o filldiroedd bob awr, ac yn gwneyd ei rhedfa o gylch yr Haul mewn 29 o flynyddoedd, 167 o ddyddiau, a 5 o oriau o'n hamser ni, yr hyn sydd yn gwneuthur ond un flwyddyn i'r blaned yma: y mae hon o herwydd ei phellder yn ymddangos yn fychan, ond fe ddywedir ei bod yn 79,042 o filldiroedd Lloegr o faintioli, ac yn gymaint a'r byd hwn 995 o weithiau.

Rheolaeth Sadwrn sydd ar y spleen, y glust ddeau, yr esgyrn, y dannedd, a'r cymalau, a phob peth sydd o natur chwerw a siarp; y doluriau sydd o dan Sadwrn yw y melancoli, dolur y gewynau, y cryd, y clwyf melyn du, y ddannodd, y gwahan-glwyf, poen y cymalau, y cryd cymalau, y polsi, y dropsi, a'r pâs; y pethau hyn oll ydynt o dan reolaeth Sadwrn.

## *Am yr Haul* ☉ Sol or Sun.

YR Haul, yr hwn sy'n rheoli ar ddydd Sul, sydd yn fyd mawr o dân, wedi ei osod yn hytrach yn îs na'r lleill o'r planedau, ac yn trafaelio trwy y deuddeg tŷ, sef deuddeg tŷ y *Zodiac*, mewn 365 o ddyddiau, 5 o oriau, 48 o funydau, a 57 o eiliadau, yr hyn sydd yn gwneuthur un flwyddyn wrth ba un y mae ein hamser ni yn cael ei fesur a'i gyfrif. Rheolaeth yr Haul sydd ar y galon, y cefn, ar lygad dehau i fab, a'r llygad aswy i ferch, ac ar yr ymenydd: y doluriau sydd o dan reolaeth yr Haul ydyw cryndod y galon, ffitiau neu wasgfeuon, darfodedigaeth y galon, gwendid y golygon, clefydon trymion a phoethion, gwynt drewedig, doluriau yn y genau a'r gwddf, a chlwyf y brenin; y pethau hyn sydd o dan reolaeth yr Haul.

---

## *Am y Lloer neu'r Lleuad* ☾ Moon.

Y Lleuad, yr hon sydd yn rheoli ar ddydd Llun, a ddywedir ei bod yn myned un waith o gwmpas y byd o'r naill newid i'r llall, sef mewn 27 o ddiwrnodiau, 7 o oriau, a 43 o funydau; dywedir mai ei maintioli yw 2,160 o filliroedd, a'i phellder oddiwrth y ddaear, meddant, yw 240,000 o filldiroedd; y mae hi yn myned 2290 o filldiroedd bob awr: corph neu fyd tywyll ydyw y Lleuad, ond ei bod yn

derbyn ei llewyrch oddiwrth yr Haul; y mae hon yn blaned oer hynod yn ei natur: fel y mae yr Haul yn boeth yn ei natur, y mae hithau yn oer yn ei natur.

Y doluriau sydd o dan reolaeth y Lleuad yw poen yr ymysgaroedd a'r bol, y grafel a'r gareg, a llaweroedd o ffaeleddau mewn merched; hefyd y cryd cymalau oer, y llyngyr, y frech wen, ysgafnder yn y pen, y melancoli, neu loerigrwydd; y pethau hyn sydd o dan y Lloer. Y mae ei rheolaeth ar yr ymenydd, y bol, a'r chwysigen, ar y llygad chwith i ddyn, ac ar y llygad dehau i ferch.

---

### *Am y Mercher* ☿ Mercury.

Y MAE llawer o'r un doluriau o dan hon ag sydd o dan y Lleuad: y mae y blaned hon yn rheoli ar ddydd Mercher, yn ol dyddiau yr wythnos: y clefydau sydd dani yw doluriau yr ymenydd, y melancoli, a lloerigrwydd, ac y mae yn effeithio ar y cof i raddau helaeth, ac hefyd ar y tafod a'r lleferydd. Ei phellder oddiwrth yr Haul yw 37,000,000 o filldiroedd.

---

### *Am yr Iau* ♃ Jupiter.

Y BLANED hon sydd yn rheoli ar ddydd Iau: mae yr astronomyddion yn profi ei bod 490,000,000 o filldiroedd oddiwrth yr Haul, ac yn gymaint fil o weithiau a'n byd ni: y mae yn myned mewn awr yn agos i 26,000 o

filldiroedd; mae yn gwneyd ei rhedfa trwy y deuddeg tŷ mewn un mlynedd ar ddeg, tri chant a phedwar ar ddeg o ddyddiau, a deuddeng awr.

Y doluriau sydd o dan *Jupiter*, neu Iau, yw enynfa yr ysgyfaint, doluriau yn y clustiau a'r pen, polsi yn y pen, a phoen yn y cefn; ac fe ddywedir fod rhyw fath o gonfylsiwn hefyd o dan y blaned hon. Y mae hefyd yn dyfod â thywydd teg a hyfryd yn gyffredinol.

---

### *Am y Mawrth* ♂ Mars.

Y BLANED hon sy'n rheoli dydd Mawrth, yn ol dyddiau yr wythnos, a'i phellder oddiwrth yr Haul, meddant, yw 144,000,000 o filldiroedd, a'i bod yn trafaelio bob awr 47,000 filldiroedd: y mae yn myned o gwmpas yr Haul mewn 686 o ddyddiau a 22 awr, yr hyn sy'n gwneyd i fyny ei blwyddyn.

Y doluriau sydd o dan y blaned hon ydyw y pla, a'r clefydon sydd yn tarddu oddiar y cyfryw bethau, y cryd, y clefyd melyn, y clwyf gwaed, a gwres a phoen yn y pen: dywedir fod y rhai a enir o dan y blaned hwn mewn perygl o rodio allan y nos, rhag i ddamweiniau anghysurus eu cyfarfod.

---

### *Am Gwener* ♀ Venus.

Y BLANED hon sydd yn rheoli ar ddydd Gwener; dywedir ei bod 68,000,000 o filldir-

oedd oddiwrth yr Haul, ac yn myned 69,000 o filldiroedd bob awr; y mae hi yn pasio trwy y deuddeg tŷ, sef y deuddeg Arwydd, mewn 221 o ddyddiau, a 17 o oriau: y mae y blaned hon yn codi ychydig o flaen yr Haul, ac fe'i gelwir y Seren Fore, neu gan rai, y Seren Ddydd.

Y doluriau sydd o dan Gwener ydyw holl ddoluriau y groth, y bol, cryndod yn y galon, doluriau yn y lwynau, y *pox*, doluriau yn y bogail, a'r holl ddoluriau sydd yn y rhanau dirgelaidd mewn mab a merch, o herwydd mai hi sydd yn llywodraethu y rhanau hyny yn nghyda'u doluriau, a phoen yn y mein-gefn; y mae y rhai hyn oll o dan reolaeth y blaned hon.

Fe ddywedwyd ychydig yn barod am natur yr arwyddion a'r planedau yn gweithio ar ddoluriau ac afiechyd sydd yn berthynol i gyrph dynion.

Fe ddywedir pan f'o y blaned SADWRN yn achos marwolaeth i feibion a merched dynion, ei bod yn gweithio angeu, sef yn lladd y corph, trwy y peswch, y dropsi, a'r pethau sydd yn magu yn y corph trwy oerfel, ac ar rai gweithiau yn lladd trwy ryddni (*fluxes;*) y mae Sadwrn yn lladd y corph trwy y dolur iau hyn, fel y cewch weled am y lleill.

Y mae JUPITER yn gwneuthur ei orchwyl, sef lladd y corph dynol, trwy ddolur yn y

gwddf, y spinagl, y cylymau gwythi *(cramps,)* a'r doluriau sydd yn yr ysgyfaint, sef y rhai sydd yn peri i'r gwynt neu'r anadl ddrewi; ac yr wyf fi yn meddwl nad oes neb ag sydd â gwynt drewedig yn iach, am y rhaid ei fod yn tarddu oddiar ryw lwgr sydd oddifewn i'r corph, ac yn dyfod allan gyda'r anadl; fel hyn y mae hon yn terfynu ei gorchwyl, ac yn gorphen ei gwaith ar y natur ddynol.

Y mae MARS yn lladd yn sydyn, sef trwy gnoc neu ddamwain ddisymwth, poeri gwaed, ac enynfa yn yr ysgyfaint; ac mewn merched wrth eni plant, ac wrth fisgario; hefyd y doluriau hyny sydd yn magu yn y corph trwy ormod o wres, yr hyn yn aml sydd yn achos i wragedd fethu a chario eu coflaid i ben eu siwrnai, er bod llawer o achosion ereill yn peri yr effaith yma yn gystal a hyny.

Y mae VENUS yn lladd yn y cylla (*stomach*), yr iau, y clwyf gwaed, gwenwyn, a madredd neu lygredigaeth yn rhyw ran o'r corph; gwelwch pa fath foddion sydd gan y blaned hon i ddiweddu dynoliaeth.

MERCURY sydd yn lladd y natur ddynol trwy yru dynion allan o'u cof, sef yn lloerig, ac yn felancolaidd; y mae y doluriau hyn yn lladd llawer o feibion a merched dynion; hefyd y pesychu-sych, a gormod o sychder yn y corph; os bydd y corph yn rhy sych, y mae hyn yn magu afiechyd ynddo, ac yn taflu y *frame*

ddynol yn hollol i anhwyldeb; felly hefyd os bydd gormod o wlybaniaeth yn y corph, y mae hyny yn llawn mor niweidiol ag ydyw y llall.

Y mae SADWRN yn lladd trwy grogi neu dagu, ac ar rai gweithiau trwy fwystfilod gwylltion neu ddofion: nid ydyw o fawr ddefnydd eich cyfarwyddo yn yr ymadroddion hyn, am eu bod yn hollol ddyeithr i'r rhan fwyaf o'r wlad; a'r peth ag y mae dynion yn eu tywyllwch a'u hanwybodaeth am dano y maent yn dueddol i'w anghoelio, am nad ydynt yn ei ddeall. Gallwn helaethu ar y materion hyn, ond am un a'u coelia, llawer a'u hanghoeliant, ac eraill a'u cyfrifant yn bechod, ond eu tywyllwch a'u hanwybodaeth a barai hyny. Duw a ddywedodd, Bydded goleuni yn ffurfafen y nefoedd, i wanhaniaethu y dydd a'r nos oddiwrth eu gilydd, a gadawodd neu fe roddodd y goleuadau hyn yn ffurfafen y nefoedd yn arwyddion, yn dymhorau, yn ddyddiau, ac yn flynyddau. I bwy, meddwch, yr oeddynt yn arwyddion? Nid i anifeiliaid y maes, ond i ddynion pa rai sydd yn gyflawn o synwyr i wahaniaethu rhyngddynt; peidied neb a chondemnio y gwaith hwn hyd nes y dysgont ddoethineb. Nid wyf fi ddim yn gwrthwynebu moddion meddygol yn y graddau lleiaf, ond eisieu eich cyfarwyddo yn fwy manwl i hitio y dolur ar y cynyg cyntaf, yn lle cwmpasu cymaint mewn tywyllwch Aiphtaidd a dudew, yn treio y moddion hyn a moddion ereill. O dan

eich dwylaw, a'r peth, fe allai, mor bell oddiwrth natur y dolur ag ydyw y dwyrain oddiwrth y gorllewin, a hyny i gyd o eisiau gwybodaeth.

Sylwch fod y llyfr hwn o'i ddechreuad i'w ddiwedd yn eich cyfarwyddo i wybod pa blaned sydd yn llywodraethu pob deilen trwy y llyfr, a pha ddoluriau sydd o dan bob un o'r planedau; ac nid oes eisiau ond i chwi roi eich dealldwriaeth ar waith,—os bydd y dolur yn eich blino yn eich bol, edrychwch am y blaned sydd yn rheoli y lle hwnw, sef Venus; ac yna, wrth gyfarwyddyd y llyfr, cymerwch y dail sydd yn tyfu o dan yr un blaned ag sydd yn rheoli y rhan hòno o'r corph, sef y bol, ac felly am y lleill o'r doluriau a'r planedau. Rhaid i chwi yn wastad edrych am fod y dolur, a'r dail trwy ba rai yr ydych yn meddwl ei iachau, o dan yr un blaned a'u gilydd, ac yn yr un modd hefo y doluriau yn y gwahanol ranau o'r corph, sef y pen, y cefn, y cymalau, a'r traed: nid rhaid ond edrych pa un o'r saith blaned sydd yn rheoli y rhan ddolurus o'r corph, ac yna cymerwch eich llysiau meddygol a f'o yn tyfu o dan yr un blaned, a chymysgwch y feddyginiaeth yn gyfatebol i'r cyfarwyddyd a osodir yn y llyfr hwn, pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol y byddo'r dolur: ond eto y mae yn syndod i'r graddau uchaf fod y fath rinwedd meddygol yn yr amrywiol a'r gwahanol lysiau, wedi eu haddas drefnu yn feddyginiaeth i'r amrywiol a'r gwahanol ddoluriau, pa rai sydd,

trwy effaith pechod a chodwm ein rhieni cyntaf, wedi dyfod i gorph dyn.

Y mae yr holl lysiau meddygol hyn wedi eu rhagweled gan y doeth Dduw y byddai yn rhaid wrthynt i iachau corph dyn; efe yn ei ddoeth drefn a barotodd feddyginiaeth cyn bod clwyf: y diffyg sydd arnom ni yw, eisiau na byddem yn fwy diolchgar am y trugareddau ydym yn feunyddiol yn eu mwynhau, ac i fod yn fwy taer am fendith ar y pethau ydym yn eu mynych dderbyn; ac er bod yn hyddysg mewn cyffuriau meddygol ac yn llwyddiannus, y mae yn gofyn gweddïo am fendith ar y moddion, onidê ofer ydyw ein hymdrechiadau goreu, oni bydd Duw yn cyd-weithio.

Mi gynghoraf bob un o honoch sydd yn meddwl gwneuthur defnydd o'r llyfr hwn, i fod yn ofalus am fyned yn ol y cyfarwyddiadau sydd wedi eu gosod i lawr yma; ac os byddwch gall, gellwch wneuthur daioni i chwi eich hunain, i'ch teuluoedd, ac i'ch cymydogion. Ond nid yw meddygon cyffredin ein gwlad yn rhoi coel ar effeithiau y planedau yn gweithio yn effeithiol ar lysiau y maes, nac ychwaith ar gyrph dynion; ond yr wyf fi yn barnu y gall y rhai sydd wedi eu profi ugeiniau o weithiau ei gredu yn ddiysgog: a rhaid i mi gyfaddef hefyd fod amrywiol o lyfrau dail yn gwadu yn hollol effeithiau y planedau ar lysiau y maes, ac ar gyrph dynion hefyd, o herwydd eu pellder oddiwrthym ni; ond y maent wedi llafurio yn hir yn y camgymeriad hwn: gwir yw, nad

ydyw y cyrph hyny, sef y bydoedd mawrion fry, o'u rhan eu hunain, yn gallael gweithredu nac effeithio dim yma ar y llawr, ond fel y mae yr hyn sydd yn ysbrydol ynddynt yn gweithio: a phe byddai eich cyffuriau meddygol wedi eu parotoi i'w rhoi neu i'w cymeryd, ac i'r feddyginiaeth fod yn addas i'r clwyf, y mae yn gofyn deisyf yn daer, trwy weddi, cyn ac ar ol ei roddi, am fendith arno, a hyny gyda llawer o ostyngeiddrwydd calon, a chofio am eiriau yr ysgrythyr, "nas gall Paul ond planu, ac Apolos ond dyfrhau, ond Duw a bia 'r cynydd." Felly gwelwn nas gall y meddygon goreu wneuthur dim o honynt eu hunain, ond fel y maent yn derbyn eu llwyddiant gan arall; am hyny rhodded pob meddygwr y clod yn hollol i'r hwn y mae clod yn ddyledus, gan mai trwy râd ragluniaeth Duw yr ydym ni yn cael pob peth, a phob math o iechyd corphorol, yr hyn a ddylem ni yn wastadol ei gyfaddef.

Y mae Mr. CULPEPPER wedi gorchymyn gwneuthur defnydd o'r Tabl sydd yn dangos y pryd i dòri y dail yn eu hawr, sef yr awr y mae eu planedau yn eu llywodraethu. Nid wyf fi yn golygu nad yw y dail yn feddyginiaethol heb eu tori ar yr oriau a nodir yn y Tabl, canys byddaf yn fynych yn eu defnyddio fy hunan felly, ac yn cael eu bod yn llesol; ond hyn wyf yn ei ddywedyd, eu bod yn gweithio gyda mwy o awdurdod a grym os cymerir y drafferth i'w tori wrth reol y Tabl a gyflеir yn awr i sylw y darllenydd.

# TABL

GANFOD

# ORIAU Y PLANEDAU,

AM BOB DYDD YN YR WYTHNOS;

*Yr hyn sy'n dechreu ar godiad yr Haul.*

| SUL | | LLUN | | MAW. | | MER. | | IAU | | GWE. | | SAD. | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *or.* | *pl.* | *or.* | *pl.* | *or.* | *pl.* | *or.* | *pl.* | *or.* | *pl.* | *or.* | *pl* | *or.* | *pl* |
| 1 | ☉ | 1 | ☽ | 1 | ♂ | 1 | ☿ | 1 | ♃ | 1 | ♀ | 1 | ♄ |
| 2 | ♀ | 2 | ♄ | 2 | ☉ | 2 | ☽ | 2 | ♂ | 2 | ☿ | 2 | ♃ |
| 3 | ☿ | 3 | ♃ | 3 | ♀ | 3 | ♄ | 3 | ☉ | 3 | ☽ | 3 | ♂ |
| 4 | ☽ | 4 | ♂ | 4 | ☿ | 4 | ♃ | 4 | ♀ | 4 | ♄ | 4 | ☉ |
| 5 | ♄ | 5 | ☉ | 5 | ☽ | 5 | ♂ | 5 | ☿ | 5 | ♃ | 5 | ♀ |
| 6 | ♃ | 6 | ♀ | 6 | ♄ | 6 | ☉ | 6 | ☽ | 6 | ♂ | 6 | ☿ |
| 7 | ♂ | 7 | ☿ | 7 | ♃ | 7 | ♀ | 7 | ♄ | 7 | ☉ | 7 | ☽ |
| 8 | ☉ | 8 | ☽ | 8 | ♂ | 8 | ☿ | 8 | ♃ | 8 | ♀ | 8 | ♄ |
| 9 | ♀ | 9 | ♄ | 9 | ☉ | 9 | ☽ | 9 | ♂ | 9 | ☿ | 9 | ♃ |
| 10 | ☿ | 10 | ♃ | 10 | ♀ | 10 | ♄ | 10 | ☉ | 10 | ☽ | 10 | ♂ |
| 11 | ☽ | 11 | ♂ | 11 | ☿ | 11 | ♃ | 11 | ♀ | 11 | ♄ | 11 | ☉ |
| 12 | ♄ | 12 | ☉ | 12 | ☽ | 12 | ♂ | 12 | ☿ | 12 | ♃ | 12 | ♀ |
| 13 | ♃ | 13 | ♀ | 13 | ♄ | 13 | ☉ | 13 | ☽ | 13 | ♂ | 13 | ☿ |
| 14 | ♂ | 14 | ☿ | 14 | ♃ | 14 | ♀ | 14 | ♄ | 14 | ☉ | 14 | ☽ |
| 15 | ☉ | 15 | ☽ | 15 | ♂ | 15 | ☿ | 15 | ♃ | 15 | ♀ | 15 | ♄ |
| 16 | ♀ | 16 | ♄ | 16 | ☉ | 16 | ☽ | 16 | ♂ | 16 | ☿ | 16 | ♃ |
| 17 | ☿ | 17 | ♃ | 17 | ♀ | 17 | ♄ | 17 | ☉ | 17 | ☽ | 17 | ♂ |
| 18 | ☽ | 18 | ♂ | 18 | ☿ | 18 | ♃ | 18 | ♀ | 18 | ♄ | 18 | ☉ |
| 19 | ♄ | 19 | ☉ | 19 | ☽ | 19 | ♂ | 19 | ☿ | 19 | ♃ | 19 | ♀ |
| 20 | ♃ | 20 | ♀ | 20 | ♄ | 20 | ☉ | 20 | ☽ | 20 | ♂ | 20 | ☿ |
| 21 | ♂ | 21 | ☿ | 21 | ♃ | 21 | ♀ | 21 | ♄ | 21 | ☉ | 21 | ☽ |
| 22 | ☉ | 22 | ☽ | 22 | ♂ | 22 | ☿ | 22 | ♃ | 22 | ♀ | 22 | ♄ |
| 23 | ♀ | 23 | ♄ | 23 | ☉ | 23 | ☽ | 23 | ♂ | 23 | ☿ | 23 | ♃ |
| 24 | ☿ | 24 | ♃ | 24 | ♀ | 24 | ♄ | 24 | ☉ | 24 | ☽ | 24 | ♂ |

Y mae yr henafiaid, yn yr amseroedd gynt, wedi rhoddi dangosiad yn eu hysgrifenadau am y saith blaned, ae yn dangos fod y rhai hyn yn rheoli ar y saith diwrnod, sef dyddiau yr wythnos; ae y maent yn barnu fod y blaned sydd dros y dydd yn rheoli yr awr gyntaf o'r dydd, sef yr awr gyntaf ar ol eodi Haul, fel y canlyn; y blaned gyntaf ar ddydd Sul yw y Haul, y gyntaf ar ddydd Llun yw y Lleuad, y gyntaf ar ddydd Mawrth yw *Mars*, y gyntaf ar ddydd Mercher yw *Mercury*, y gyntaf ar ddydd Iau yw *Jupiter*, a'r gyntaf ar ddydd Gwener yw *Venus*, a'r gyntaf ar ddydd Sadwrn yw y blaned a elwir Sadwrn. Daliwch sylw mai ar yr awr gyntaf yn unig y maent yn rheoli, fel y gwelwch yn y Tabl.

Mi roddais i chwi y Tabl i dori y dail, yn ol fy addewid; ond er i mi gyflawni fy addewid yn hyny, y mae yn rhaid i mi eto eich cyfarwyddo pa fodd i'w ddefnyddio, onidê chwi a fyddwch yn y tywyllwch: am hyny ystyriwch yr Haul, sef amser ei godiad hâf a gauaf, yr hyn a ddysgwch yn yr Almanac: a'r ffordd mwyaf rhwydd a hawdd i'w deall ydyw cymeryd y dydd o godiad Haul hyd ei fachludiad, a'i ranu yn ddeuddeg awr, a chymeryd un o'r rhanau hyny yn un awr i'r blaned, a rhanu y nos yn yr un modd; ae os dygwydd hyn pan byddo y dydd a'r nos yr un hyd a'u gilydd, gellwch gymeryd yr awr fel y mae ar lawr, hyny yw 60 munud; ond pan fyddo'r dydd yn fyr yn y gauaf, nis gellir cael deuddeg

awr, ac yn mhob un 60 munud, a hyny o godiad Haul hyd ei fachludiad; ond yr hyn y mae oriau y dydd yn fyr o 60 munud, y mae oriau y nos yn gymaint a hyny yn hŵy, hyny yw yn y gauaf, ac yn yr hâf yn groes i hyny, am fod yr awr yn hŵy o gymaint ag y bydd y dydd dros ben 12 awr; gellwch, ar rai amserau yn yr hâf, gael 80 munud, mwy neu lai, fel y gweloch hyd y dydd yn yr Almanac, ac felly yn llai yn y dydd ac yn fwy yn y nos y gauaf: y mae y cyfarwyddyd hwn yn ddigon manwl i bob dyn call. Y mae rhai yn cymeryd yr amser o haner nos, ac felly yn rhanu y pedair awr ar hugain; ond yn gymaint mai ar godiad yr Haul y mae y dydd yn dechreu, ac awr y blaned yn cymeryd lle, o godiad Haul hyd ei machludiad ydyw y ffordd hawddaf i ddynion o ddeall lled fyr, hyny yw ysgoleigion bychain: ond i'ch gwneuthur yn fwy hyddysg, sylwch fod yr Haul yn rheoli yr awr gyntaf ar ol codi Haul ddydd Sul: y mae y dydd hwn yn cael ei enw oddiwrth y blaned sy'n rheoli arno, sef *Sun-day*, ac felly yn mlaen; yr ail a reolir gan *Venus*, y drydydd gan *Mercury*, y bedwerydd gan y Lleuad, y bummed gan Sadwrn, y chweched gan *Jupiter*, a'r seithfed awr ar ol codi Haul a reolir gan *Mars;* yna gwelwch fod pob un o'r saith blaned wedi teyrnasu un awr, ac yna y mae yr Haul yn dechreu rheoli eto ar yr wythfed awr, ac felly yn mlaen am y lleill, fel y gwelwch yn y Tabl.

Fy amcan yn bresenol yw dangos pa blaned sydd yn rheoli pob un o'r llysiau y crybwyllir am danynt yn y llyfr hwn, fel ag y gall y darllenydd, trwy y cyfarwyddyd a roddir yma, ganfod o dan ba blaned y mae pob llysieuyn yn tyfu, a thrwy hyny dyfod â'r feddyginiaeth yn agos at y clwyf; os bydd eich dolur yn gyndyn i wellhau, heliwch y dail sydd yn gyfaddas, wrth y cyfarwyddyd a roddir yma, gan eu tòri pan ag y byddo eu planedau yn rheoli arnynt: myfi a enwaf y dail, a'r planedau sydd yn eu rheoli gyferbyn â hwynt, yn y dull canlynol:—

A

| | |
|---|---|
| Adder's tongue ...................... | Moon |
| Agrimony......................... | Jupiter |
| Water Agrimony ................. | Jupiter |
| Alexander.. : ...................... | Jupiter |
| Amara dulcis ...................... | Mercury |
| Amomum.......................... | |
| Angelica .......................... | Sun |
| Arrach wild........................ | Venus |
| Arsmart ........................... | Mars |
| Ash tree ........................... | Sun |
| Avens .............................. | Jupiter |

B

| | |
|---|---|
| Balm ............................... | Jupiter |
| Barbery ............................ | Mars |
| Bay tree ........................... | Sun |

| | |
|---|---|
| Beans | Venus |
| Lady's Bedstraw | Venus |
| Wood Betony | Jupiter |
| Bistort | Saturn |
| Blue Bottle | Saturn |
| Briony | Mars |
| Brooklime | Mars |
| Broom | Mars |
| Buck's horn plantain | Saturn |
| Bugle | Venus |
| Burdock | Venus |

C.

| | |
|---|---|
| Cabbages | Moon |
| Calamint | Mercury |
| Camomile | Sun |
| Carraway | Mercury |
| Carrots | Mercury |
| Catmint | Venus |
| Celandine | Sun |
| The lesser Celandine | Mars |
| Small Centaury | Sun |
| Chesnut tree | Jupiter |
| Earth Chesnuts | Venus |
| Chickweed | Moon |
| Cinquefoil | Jupiter |
| Cock's head | Venus |
| Colt's foot | Venus |

| | |
|---|---|
| Columbine ........................ | Venus |
| Comfrey ........................ | Saturn |
| Costmary ........................ | Jupiter |
| Cowslips ........................ | Venus |
| Crane's bill ........................ | Mars |
| Water Cresses ........................ | Moon |
| Crow's foot ........................ | Mars |
| Cudweed ........................ | Venus |
| Cuckoo flowers ........................ | Venus |
| Cuckoo point ........................ | Mars |
| Cucumbers ........................ | Moon |

D

| | |
|---|---|
| Daises ........................ | Venus |
| Dandelion ........................ | Jupiter |
| Dill ........................ | Mercury |
| Devil's bit, ........................ | Venus |
| Dock ........................ | Jupiter |
| Dragon ........................ | Mars |
| Dropwort ........................ | Venus |

E

| | |
|---|---|
| Elder Tree ........................ | Venus |
| Dwarf Elder ........................ | Venus |
| Elicampane ........................ | Mercury |
| Eringo ........................ | Venus |
| Eye bright ........................ | Sun |

F

| | |
|---|---|
| Fern ........................ | Mercury |
| Water Fern ........................ | Saturn |

| | |
|---|---|
| Fennel | Mercury |
| Fig tree | Jupiter |
| Yellow Flag | Moon |
| Flax-weed | Mars |
| Flea-wort | Saturn |
| Fluellin | Moon |
| Foxglove | Venus |
| Fumitory | Saturn |

G

| | |
|---|---|
| Garlick | Mars |
| Gladwin | Saturn |
| Golden rod | Venus |
| Gooseberry bush | Venus |
| Gromel | Venus |
| Groundsel | Venus |
| Gout-wort | Saturn |

H

| | |
|---|---|
| Hare's foot | |
| Rest Harrow | Mars |
| Hart's tongue | Jupiter |
| Hawthorn | Mars |
| Hemlock | Saturn |
| Hemp | Saturn |
| Black Helebore | Saturn |
| Hen-bane | Saturn |
| Hoarhound | Mercury |
| Holy thistle | Mars |

| | |
|---|---|
| Honey-suckle | Mercury |
| Hound's tongue | Mercury |
| Houseleek | Jupiter |
| Hops | Mars |
| Hyssop | Jupiter |

I

| | |
|---|---|
| Ivy | Saturn |
| Ground Ivy | Venus |

J

| | |
|---|---|
| Jacinth | Mars |
| St. John's wort | Sun |
| Juniper | Sun |

K

| | |
|---|---|
| Kidney-wort | Venus |
| Knap-weed | Saturn |
| Knot-grass | Saturn |

L

| | |
|---|---|
| Lavender, | Mercury |
| Lettuce | Moon |
| Lily of the Valley | Mercury |
| Water Lily | Moon |
| White Lilies | Moon |
| Liquorice | Mercury |
| Liver-wort | Jupiter |
| Purple Loose-strife | Moon |
| Yellow Loose-strife | Moon |
| Lovage | Sun |

M

| | |
|---|---|
| Madder | Mars |
| Maiden hair | Mercury |
| White Maiden hair | Mercury |
| Mallows & Marsh Mallows | Venus |
| Marigold | Sun |
| Sweet Marjoram | Mercury |
| Medlar | Saturn |
| Melancholy Thistle | Mars |
| Melilot | Jupiter |
| Dog's Mercury | Venus |
| Milk-wort | Jupiter |
| Mint | Venus |
| Money-wort | Venus |
| Moon-wort | Moon |
| Mosses | Saturn |
| Mother-wort | Venus |
| Mouse-ear | Moon |
| Mug-wort | Venus |
| Mulberry tree | Mercury |
| Mullein | Saturn |
| Mustard | Mars |
| Hedge Mustard | Mars |

N

| | |
|---|---|
| Nettles | Mars |

O

| | |
|---|---|
| Oak | Jupiter |

| | |
|---|---|
| Onions .......... | Mars |
| Orpine .......... | Moon |

P

| | |
|---|---|
| Parsley .......... | Mercury |
| Parsnip. .......... | Venus |
| Peach tree .......... | Venus |
| Pellitory of the wall .......... | Mercury |
| Penny-royal .......... | Venus |
| Peony .......... | Sun |
| St. Peter's wort .......... | Sun |
| Pilewort, see Lesser Celandine. | |
| Pimpernel .......... | Sun |
| Ground Pine .......... | Mars |
| Plantain .......... | Venus |
| Plums .......... | Venus |
| Polypody of the Oak .......... | Saturn |

Q

| | |
|---|---|
| Queen of the Meadows .......... | Venus |

R

| | |
|---|---|
| Rag-wort .......... | Venus |
| Red roses .......... | Jupiter |
| Rosemary .......... | Sun |
| Garden Rue .......... | Sun |

S

| | |
|---|---|
| Sage .......... | Jupiter |
| Wild Sage .......... | Venus |
| Solomon's Seal .......... | Saturn |

| | |
|---|---|
| Wood Sanicle | Venus |
| Savine | Mars |
| White Saxifrage | Moon |
| Scurvy-grass | Jupiter |
| Self-heal | Venus |
| Service tree | Saturn |
| Shepherd's purse | Saturn |
| Smallage | Mercury |
| Soap-wort | Venus |
| Sorrel | Venus |
| Wood Sorrel | Venus |
| Spleen-wort | Saturn |
| Strawberries | Venus |
| Speedwell | Venus |
| Sundew | Sun |

T

| | |
|---|---|
| Garden and Wild Tansy | Venus |
| Thyme | Venus |
| Tormentil | Sun |
| True Love | Venus |

V

| | |
|---|---|
| Vervain | Venus |

W

| | |
|---|---|
| Willow tree | Moon |
| Wormwood | Mars |

# RHESTR

O

# WAHANOL ENWAU Y LLYSIAU.

---

GAN fod amryw enwau yn fynych ar yr un llysiau, i'ch gwneuthur yn fwy adnabyddus o honynt, myfi a roddaf yr enw Saes'neg yn gyntaf, a'r amryw enwau Cymraeg ar ei ol, fel y canlyn:—

A

*Adder's tongue*, tafod y neidr.
*Agrimony*, llysiau y dryw, y drydon, troed y dryw, cwlyn y mêl, y felysig, llysiau'r fuddai.
*Water Agrimony*, cywarch gwyllt, y dinllwyd, y dorllwyd, gwyn y merched.
*Amomum*, persli pêr.
*Angelica*, llysiau'r ysgyfaint, llysiau'r angel.
*Arrach wild*, llysiau'r fam wyllt, troed yr oen.
*Arsmart*, y benboeth, llysiau y din.
*Ash*, onen gyffredin.
*Avens*, llysiau f' anwylyd, y fabgoll.

B

*Balm*, bôm, y wenynog, llysiau y gwenyn.
*Barbery*, pren melyn, drain ysbinys

*Bay tree*, dail cwrw, y lawryf, lawrwydden.
*Beans*, ffa cyffredin.
*Lady's Bedstraw*, llysiau y panwyr, brigau y twynau, y felyn-llys, llysiau 'r cywer.
*Wood Betony*, cribau St. Ffraid, dannogen y coed, cribau'r coed.
*Bistort*, llysiau y neidr.
*Bitter sweet*, manyglog.
*Blue-bottle*, y ben-galed, y ben-las wen, y glafr-lys, y gramenog.
*Briony*, bloneg y ddaear, rhwymyn y coed, llysiau'r twrch, eirin gwion, grawn y perthi, paderau'r gath, y winwydden wen, pys y coed.
*Brooklime*, llysiau Taliesin, y greulys fenyw, llychlyn y dwfr.
*Broom*, banadl.
*Buck's horn plantain*, dail llwyn hidl, llydan y ffordd, dail llyriaid, henllydan.
*Bugle*, glesyn y coed, yr olchenid.
*Burdock*, cacamwci lleiaf, cedor y wrach, y cyngaf lleiaf.

C

*Cabbage*, cawl, cawlen, bresych, bresychen bengron.
*Calamint*, mintys y mynydd.
*Camomile*, camri, y milwydd, camomil.
*Carraway*, y garddwy.
*Wild Carrots*, moron gwylltion, moron y maes.
*Catmint*, mintys y gath.
*Celandine*, llym y llygaid, y ddilwydd felen, y ddiwlith, llysiau y wenol, llysiau y ilew.

*The lesser Celandine*, dail y peils, llygaid Ebrill, y fronwys, y fywlys, mil melyn y gwanwyn, y fronwst, gwenith y ddaear, y fioled fraith, llygaid y ddyniewed.

*Small Centaury*, ysgol Fair, bustl y ddaear, canrhi goch, ysgol Crist.

*Chesnut tree*, coeden gnau gyffredin.

*Earth Chesnut*, cnau y ddaear, clôr, cylor.

*Chick-weed*, llysiau y dom, gwlydd y dom, gwlydd yr ieir.

*Cinquefoil, five fingered leaf*, y ddeilen bum' dalen, llysiau y pum'-bys, llwynhidydd, penau y gwŷr, traeturiaid y bugeilydd, y felyn-llys.

*Colt's foot*, dail carn yr ebol, alan bychan, y besychlys.

*Comfrey*, cyfardwf, llysiau'r cwlwm.

*Costmary*, tafod yr oen.

*Cowslips*, briallu, y dewbanog fechan, symylen, llysiau y parlys.

*Crane's bill*, y goesgoch, y dowrudd, llysiau y llwynog, pig yr aran, mynawyd y bugail, llysiau Robert.

*Water-cresses*, berw y dwfr.

*Crow's foot*, crafangc y fran, ol-brain chwys Mair.

*Cud-weed*, adafeddog, llwyd y ffordd, llwyd bonheddig.

*Cuckoo flowers*, blodau'r gog, blodau y cegid bychain, blodau y gethlydd, blodau y gwcw.

*Cuckoo point*, pig y gog, pidyn y gog.

*Cucumber*, y chwerwddwr.

D

*Daises*, llygaid y dydd, briallu y dydd.
*Dandelion*, dant y llew, dant y ci, dail clais.
*Dill*, math o ffenigl neu anis; fe a elwir y rhai hyn yn wenyn-ddail, neu gwenyn-lys.
*Devil's bit*, cas gan gythraul, gas-wenwyn.
*Dock*, dail tafol.
*Dragon*, llysiau y ddraig.

E

*Elder tree*, ysgaw cyffredin.
*Dwarf Elder*, ysgaw Mair, ysgaw y ddaear, gwaed y gwyr.
*Eringo, or Sea holly*, celyn y môr, môr gelyn.
*Elicampane*, march alan.
*Eye-bright*, y dorfagl, llygaid siriol, goleu-drem, gloyw-lys, effros.

F

*Fennel*, ffanigl, ffunell.
*Fern*, rhedyn cyffredin.
*Water fern*, rhedyn y dwfr.
*Fig trees*, coed ffigys, gwyddenau ffigys.
*Yellow Flag*, gellhesg cyffredin.
*Flax-weed*, llin y mynydd, llin y tylwyth teg.
*Flea-wort, flea-bean*, chweinllys, y gedowydd, llysiau'r tenewyn, llysiau'r chwain.
*Fluellin*, gwrnerth.
*Fox gloves*, menyg y llwynog, dail bysedd cochion, menyg cllyllon, dail ffion-ffrwyth, llwyn y tew-laeth.
*Fumitory*, mŵg y ddaear, cŵd y mŵg, pwff y mŵg.

G

*Garlick*, garlleg.
*Gladwin*, eithin yr ieir.
*Golden rod*, y wialen aur.
*Gooseberries*, eirin Mair, eirin Mai, grwys.
*Gromel*, y gromandi.
*Groundsel*, y benfelen fenyw, y greulys, y garnedd wen.
*Gout-wort*, llysiau y droedwst, llysiau y gymalwst.

H

*Hare's foot*, troed yr ysgyfarnog, meillion cedenog.
*Hart's tongue*, tafod yr hydd, tafod yr elain, tafod yr carw, tafod yr eilon.
*Rest Harrow*, eithin yr ieir, y dduglwyd, cas gan arddwr.
*Hawthorn*, draenen wen, drain yspaddaid.
*Black Hellebore*, crafangc yr arth, troed yr arth, tafol y môr.
*Hemlock*, cegyd, gwyn y dillad.
*Hemp*, cywarch cyffredin.
*Henbane*, ffa y moch, llewyg yr iar, ffon y bugail, crys y brenin, parfyg, y bele.
*Hoarhound*, llwyd y cŵn, llysiau'r cŵn, môrddanadl.
*Holy thistle*, ysgall bendigaid.
*Honey-suckle*, dail gwyddfid, llysiau y gwynwydd, llaeth y geifr, sugn y geifr, tethau'r gaseg.
*Hound's tongue*, tafod y ci, neu dafod y bytheiad.

*House-leek*, cynffon y llygoden, y fyw-fyth.
*Hops*, llewyg y blaidd.
*Hyssop*, isop.

I

*Ivy*, eiddew.
*Ground Ivy*, llysiau'r esgyrn, y feidiog lâs, mantell y còr, mantell Mair, palf y llew, llysiau y gerwyn, dail Robin.

J

*Jacinth*, cenin y brain.
*St. John's wort*, y gantwll, y gynddal, llysiau Ioan.
*Juniper*, meryw, merywen.

K

*Kidney-wort*, dail y gron, gron-doddaid, bogail y forwyn.
*Knap-weed*, mad-felen, y ben-galed, y benlas, y gramenog, y glafrlys.
*Knot-grass*, berw'r ieir.

L

*Lavender*, llwyn cotymog.
*Lettuce*, y rhai cyffredin.
*Lily of the Valley*, lili y dyffryn, lili y maes, elestr y maes.
*Water-lily*, lili y dwfr, elestr y dwfr.
*White-lily*, lili wen, lili'r gerddi, elestr wen.
*Liquorice*, pêr-wraidd, gwylys.
*Liver-wort*, llysiau'r iau, llysiau'r afu, llinwydd, cynglenydd yr afon, llefanog, clust yr asen.

*Purple Loose-strife, or Willow herb*, llysiau y milwr coch, y waed-lys, yr helyglys.
*Yellow Loose-strife*, llysiau'r milwr melynion.
*Lovage*, dulys, persli'r meirch.

## M

*Madder*, y wreiddrudd, y friwydd wen.
*White Maiden hair*, gwallt y forwyn, briger gwener, gwallt gwener, gwallt y ddaear.
*Mallows*, hoccys, y feddalai.
*Marsh-mallows*, dail yr hoccys, hoccys y morfa, môr hoccys.
*Corn Marigold*, gold Mair, gold, rhuddos.
*Sweet Marjorum*, mintys peraidd, mintys melys
*Medlar*, merys-bren, pren ceri, dindoll; math o afal bychan caled ydyw.
*Melilot*, pys y ceirw.
*Dog's Mercury*, cawdl y crydd, bresych y cwn.
*Milk-wort*, llysiau Crist, amlaethai, llysiau y llaeth.
*Mint*, mintys.
*Money-wort*, y ganclwyf.
*Moon-wort*, llysiau y lloer, llysiau y lleuad.
*Moss*, mwsogl, mwswg, mwswn.
*Mother-wort*, llysiau y fam, y famog.
*Mouse-ear*, clust y llygoden.
*Mug-wort*, llysiau Ifan, y feidiog lwyd, y gan' wreiddlwyd.
*Mullein*, sucyn y melinydd, siaced y melinydd, y dewbanog, y banog, haner pan, tapr dunos, tapr Mair, y dail melfed, clust y fuwch, clust y tarw, canwyll yr adar.

*Mustard*, chwerwyn bôn y trwyn, mwstard, mwsdardd, cethw, poethyn.
*Hedge Mustard*, mwstard gwylltion, mwstard y cloddiau.

N

*Nettles*, danadl poethion, dail poethion.

O

*Oak*, derw, derwen, dâr, mês-bren.
*Orpine*, orpin.

P

*Parsley*, persli, perllys.
*Parsnips*, llysau gwynion y gerddi, moron gwynion, panas, llysau gwyddelig.
*Peach tree*, coeden peatus.
*Pellitory of the wall*, paladr y wal, llysiau y pared, pelydr y ceryg.
*Penny-royal*, *lercitus*, brymlys, y freflys, coludd-lys, y frefai, llysiau y pwdin.
*Peony*, blodau'r brenin.
*St. Peter's-wort*, llysiau Pedr.
*Pimpernel*, llysiau y cryman, gwydd-lwyn, gwlydd Mair.
*Wild Pimpernel*, gwlydd-lwyn gwyllt, gwlydd Mair gwyllt.
*Ground Pine*, palf y gath, y dorllwyd.
*Plantain*, dail llyriaid, llydan y ffordd, dail llwyn hidl, henllydan.
*Plums*, eirin.
*Polypody of the Oak*, march-redyn y derw, sydd yn tyfu ar hen foncyffion derw yn gyffredinol.

## Q

*Queen of the meadows*, brenhines y weirglodd.

## R

*Rag-wort*, llysiau'r ysgyfarnog.
*Red roses*, rhôs cochion.
*Rosemary*, rhôs Mair.
*Rue*, yw y gerddi cyffredin.

## S

*Sage*, sage y gerddi, fe'u gelwir yn fedwen chwerw, y feddon.
*Wild Sage*, chwerwlys yr eithin.
*Solomon seal*, dail Solomon, llysiau Solomon.
*Wood Sanicle*, clust yr arth, yr olcheuraid yr olchwraidd.
*Savin*, ffeniw, eithin-fyw.
*White Saxifrage*, llysiau tormaen, yr eglyn, y llyfanawg, maen-had, had y gramandi, y gromil.
*Scurvy grass*, dail ysgyrfi, môr-lwyau, llysiau y llwy.
*Self-heal*, danogen y dwfr.
*Smallage*, clôr.
*Soap-wort*, sebon-lys, sebon-lysiau.
*Wood-sorrel*, suran y coed, suran y gog.
*Spleen-wort*, llysiau y ddüeg, rhedyn y fagwyr, rhedyn y gogofau.
*Speedwell*, llysiau Llewelyn, rhwydd-lwyn, y ddeilen ddu dda, craith un-nos.
*Strawberries*, mefus cyffredin.

*Sun dew*, chwys yr haul, gwlith yr haul, chwys yr huan.

T

*Tansy*, ystrewlys.
*Thyme*, teim.
*Tormentil*, tresgl y moch
*True Love*, pedair dalen.

V

*Vervain*, llysiau'r hudol, briw'r march, y dderwen fendigaid.

W

*Willow tree*, pren helyg cyffredin.
*Wormwood*, y chwerw-ddwr, chwerwlys, wermwd.

# DANGOSEG YN OL YR EGWYDDOR

## I GANFOD Y LLYSIAU.

---

# DANGOSEG

I'R

# CYFARWYDDIADAU A'R CYNGHORION.

---

CYFARWYDDIADAU.



CYNGHORION.

ARGRAFFWYD GAN H. HUMPHREYS, CAERNARFON.

# LLYSIEUAETH FEDDYGOL;

YN CYNWYS

Rhinweddau Iachaol

ODDEUTU

# TRI CHANT O LYSIAU.

YNGHYD

A CHYFARWYDDIADAU I'W DEFNYDDIO AT WAHANOL AFIECHYDON.

---

GAN Y DIWEDDAR

THOMAS PARRY, Glan y gors,

TRE'RGARTH, GER BANGOR.

---

CAERNARFON:

ARGRAFFWYD GAN H. HUMPHREYS, CASTLE SQUARE,

*Lithographic, Copperplate, and Letter-press Printer by Steam, Stereotyper, Bookbinder, and Machine Ruler.*

## AT Y DARLLENYDD.

---

Y MAE y gwaith canlynol ar Lysieuaeth yn cynwys sylwadau ar yn agos i 300 o wahanol Ddail a Llysiau; nodir ynddo y manau y maent yn tyfu, yr adeg pan y byddant yn aeddfed, ynghyda'r afiechydon a'r doluriau y maent yn llesol ynddynt.

O berthynas i'r awdwr, yr oedd yn dra adnabyddus yn ei gymydogaeth a'r amgylchoedd fel *llysieuwr* hynod, a byddai ei gynghorion yn wastad yn dra derbyniol yn mhlith ei gydwladwyr, ac yn nodedig o lwyddiannus i wella afiechydon a chlefydau o bob math. Yr oedd hefyd, yn ychwanegol at ei ymchwiliadau a'i ymbrofion personol mewn Llysieuaeth, wedi

astudio gweithydd yr awdwyr mwyaf enwog yn mysg y Saeson ar y pwngc, ac y mae ffrwyth hyny i'w ganfod yn amlwg yn y gwaith hwn.

Gan obeithio y bydd ei gyhoeddiad yn foddion i alw sylw y Cymry at feddyginiaeth syml natur, ac yn fendithiol i wella afiechydon a doluriau trwy gymhwysiad priodol o'r gwahanol Ddail a Llysiau a nodir ynddo, y gadewir ef yn awr yn nwylaw y Cyhoedd.

# LLYSIEUAETH FEDDYGOL, &C.

---

ALECSANDER.—*Alexander.*

TYFANT mewn creigiau yn min y môr, ac mewn gerddi. Blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Mae yr hâd yn gwresogi a chryfhau y cylla, yn gwasgaru gwynt, yn anog gwneyd dwfr, yn hawddhau y mislif, ac yn dda yn y tostedd. Bwyta y dail yn wyrddion sydd yn dda iawn yn y crach-glwyf.

ANIS.—*Anise.*

PLANHIGYN perthynol i'r Aipht a Syria. Mae yn dda i gryfhau y cylla, a rhag cnoi yn y coluddion, a'r colic, chwydd-wynt, a gwydn lysnafedd; i gynyddu chwant bwyd, ac i amryw gwynfanau yn y coluddion a'r cylla.

ALAN MAWR.—*Butter-bur.*

MAE yn aml mewn lleithle, ac yn blodeuo yn gynar yn y gwanwyn. Mae y gwraidd yn dda ragorol yn y clefydon trymaf a dwysaf. Y modd i'w harfer ydyw,—ar ol glanhau y gwreiddyn, torer yn dafellau ddwy owns o hono i lestr pridd glân, a thywallter arno

chwart o ddwfr berwedig, gadawer iddo sefyll nes ei oeri drachefn; tywallter y rhan loyw o hono, a chwaneger ato chwarter peint o *mountain wine*, gydag ychydig o siwgr da, a chymerer chwarter peint o'r gwlych yma bob pedair awr; hyn a gryfha yr ysprydoedd, ac a bar chwŷs: ar ol hyny cilia y clefyd yn llwyr: nid oes dim gwell na hwn mewn clefydon poeth pydredig.

ALAN BYCHAN, edr. CARN YR EBOL.

YR ADAFEDDOG, edr. LLWYD Y FFORDD.

AUR-FANADL.—*Dyer's Weed.*

MAENT yn fynych mewn lleoedd sychion gwylltion, ac yn blodeuo yn Mehefin a Gorphenhaf. Berwaid o'r dail sydd yn dda yn y manwynau, medd rhai, ond y mae y ddeilen yn well i'r lliwydd nag i'r phisygwr.

BLODAU'R GWYNT.—*Wind Flower.*

MAENT yn gyffredin mewn coed cysgodol, ac yn moliau y cloddiau. Blodeuant yn Mawrth ac Ebrill. Nis gellir cymeryd y dail hyn i'r corph; sawyro y sug, neu gnoi y gwreiddyn, a bâr ymadawiad â dwfr o'r pen; ysigo y dail, a'u gosod ar friwiau rhedegog, a'u glanha ac a'u hiacha.

BAW DIAWL.—*Asafœtida.*

PLANHIGYN perthynol i Persia a manau dwyreiniol creill. Mae hwn uwchlaw pob

peth arall yn dda rhag pob chwyfau a ddeilliant o wendidau y gewynau; megys gwendid y meddyliau, gwallgofrwydd, iachad i'r bolwynt a'r colic; i reoli y mis-glwyf, i brysuro y tremysgar, i chwysu yn helaeth; mae yn iachusol i'r famog; ac uwchlaw pob peth yn hollol iachad i'r ysprydoedd isel, a meddyliau terfysglyd. Mae i'w gael yn gnap, neu yn ddyferion; llonaid llwy de sydd ddigon o hono ar unwaith, am ben llonaid cwpan de o ddwfr glân.

BRENHINLLYS DOF A GWYLLT.—*Basil Sweet.*

PLANHIGYN dwyreiniol yw hwn, ond y mae yn gyffredin yn ein gerddi. Y mae yn llesol iawn i agor pob rhwystrau yn y corph, yn enwedig y mis-lif. I'r perwyl hwn y berwir y dail yn leision mewn dwfr, ac yfed hwnw a bâr ebrwydd iachad. Y dail wedi eu sychu a'u powdro sydd yn burion snisin, ac a barant disian.

BÔM Y GERDDI, neu LYSIAU Y GWENYN.—*Balm.*

BLODEUANT yn Mehefin. Dalen ber ei harogl, yn sirioli ac yn cryfhau, yn gysurol i'r pen a'r cylla, yn symud y dychlamiadau neu gryniad y galon. Mae yn dda rhag y bendro, yn feddyginiaeth briodol i'r chwyf gewynol, ac iselder ysprydoedd. Y ffordd i'w harfer yw ei thrwytho mewn dwfr berwedig, a'i hyfed ar foreufwyd gyda siwgr, fel te.

BRIGAU Y TWYNAU.—*Ladies' Bedstraw.*

TYF ar gloddiau a min y ffyrdd, ar leoedd sychion. Blodeua yn Gorphenhaf ac Awst. Trwyth o'r planhigyn o ddwfr berwedig sydd yn dda yn y droedwst, neu y *gout*, a'r cryd-cymalau. Y dail a'r brigau, wedi eu sychu a'u malurio yn llwch, a gymerir rhag poeri gwaed, neu waedu o'r ffroenau, ac ysigdod oddi mewn. Y maent yn dda iawn yn y cancr a'r ddafad wyllt. Maent yn dda hefyd yn llewygfeydd y famog. Eu trwytho dros chwech wythnos yn olew yr olewydden, mae y ffrwyth yn dda rhag llosg tân.

Y BENLAS YR YD.—*Blue-bottle.*

MAE yn gyffredin mewn ŷd a thir amaethol. Blodeua o Fehefin i Awst. Dwfr wedi ei ddistilio oddiar y blodau sydd yn dda rhagorol rhag yr enynfa yn y llygaid, a'r dail wedi eu tynu oddiar y callod, wedi eu hysigo, sydd yn dda i stopio gwaed mewn archoll newydd, (anaml yr arferir ef i hyn, ond nid oes dim sydd well.) Mae yn dda rhag ysigdod mewn briwiau yn y barwyden, a phoeri gwaed. Mae y sug yn dda iawn i olchi hen friwiau gorllyd. Gwin gwyn, wedi eu trwytho ynddo, sydd yn dda iawn rhag y cryd melyn.

BLONEG Y DDAEAR.—*Briony White.*

MAE yn tyfu mewn cloddiau a llwyni, ac yn amlaf mewn tywodtir sych. Blodeua ddechreu

Mai. Mae y gwraidd yn peri cyfog; o gylch haner owns o hono mewn haner peint o win sydd yn ddigon i beri cyfog. Plastr o'r gwraidd a ostwng chwydd caled yn y cnawd. Pwys o'r gwraidd sydd dda ragorol i ryddhau anifeiliaid corniog. Ychydig o'r sug, gyda gwin gwyn, sydd yn dda i reoli y mis lifeiriant, ac a brysura esgorfa. Mwy swm o hono sydd yn gyffuraeth hynod rhag y clwyf melyn a'r dropsi. Ei wneyd yn sew *(jelly)* gydag ychydig o winegr sydd yn llesol rhag diffyg anadl, ac a ladd lyngyr yn y cylla a'r ymysgaroedd, ac y mae yn llesol yn nghlwyfau y famog.

### BANADL.—*Broom.*

PAWB a edwyn hon. Mae yn llesol iawn mewn amryw glwyfau. Berwaid o'r planhigyn sydd yn rhagorol yn y clwyf melyn a'r dropsi. Mae yn anog gwneyd dwfr, ac yn symud rhwystrau yr afu, yr elwlenau, a'r bledren, a rhanau perthynol ereill. Rhag y dropsi cymerer o'r dwfr, yn yr hwn y berwyd y banadl, lonaid haner peint hwyr a bore, gyda llwyaid o fwstard; mae yn sicr o iachau, os na bydd y clwyf wedi myned yn rhy bell.

### BUSTL Y DDAEAR.—*Centaury.*

MAENT yn gwbl chwerw. Y mae digon o honynt mewn porfeydd llymion, ac yn blodeuo ganol haf. Dwfr berwedig oddi arnynt sydd ragorol i beri archwaeth i fwyd, ac i agor y rhwystrau yn y coluddion; yn dda yn y clwyf

melyn a'r dropsi; yn lladd llyngyr, ac yn iachad hollol yn y cryd. Berwaid o'r dail a ladd lau, ac a iacha yr ymgrafu.

BULWG.—*Cockle, Corn-rose.*

MAENT yn gyffredin mewn ŷd. Blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Mae'r blodau yn rhagorol i beri dwfr, yn gynyrchiol i'r mis-lifiant, yn llesol yn y clwyf melyn a'r dropsi, ond y mae yn rhaid eu hir arfer.

BERW'R DWFR.—*Water Cresses.*

Y MAENT yn gyffredin mewn gofer ydd. Blodeuant yn Mehefin. Arferir hwy yn fwydlys yn y gwanwyn, a iach iawn ydynt, yn enwedig i'r rhai a flinir gan ysgyrfi. Y maent yn agor rhwystrau yn y dwfr-bibellau, ac yn rhwyddhau y mis-lif. Maent yn rhagorol dda yn yr ysgyrfi a'r cylla. Y fFordd i'w cymeryd yw eu bwyta fel dail surion ereill.

BLODAU'R GWYDDAU BACH, edr. GWAYW'R BRENIN.

BERW'R GWYLLT, Y BUPUR-LYS.—*Dittander, Pepper-wort.*

MAENT yn wyllt mewn gweirgloddiau a maesydd mewn amryw fanau. Blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Maent oll o flas tra phoethlym, ac yn dda yn y ysgyrfi a'r clafr. Berwaid o honynt a bâr gyfog. Trwyth o'r dail yn irion sydd yn dda i beri dwfr, ac a

lanha'r arennau a'r bledren ddwfr oddiwrth y graian. Mae hefyd yn anogaethol i'r mislifeiriant, ac arloesiadau ar ol esgoriad. Cnoi y dail a ddwg lawer o ddwfr o'r genau, ac a iacha y ddannodd.

BANADLES, edr. AUR-FANADL.

BULWG RHUFAIN.—*Fennel Flower.*

MAE yn berthynol i wledydd cynesion Ewrop, ond fe flodeua yn ein gerddi ni yn Ngorphenhaf ac Awst. Mae y sug yn llesol rhag dolur yn y pen; wrth ei sawyro i'r ffroenau, fe a bâr disian a bwrw ymaith lysnafedd a dwfr o'r pen. Ei gymeryd oddi mewn a ryddha ffordd y dwfr, ac a iacha y eryd melyn.

BYSEDD COCHION.—*Fox-gloves.*

CYMERYD ychydig o honynt wedi eu powdro a bâr gyfog ffyrnig. Maent yn hynod phisygwriaeth, ond ni ddylid eu harfer ond gyda gofal mawr. Berwaid o'r dail a arferir yn y gymalwst, ond fe weithia yn echryslon i fyny ac i lawr. Eli neu enaint o honynt, wedi ei ferwi mewn ymenyn Mai, sydd yn llesol iawn i friwiau oddiwrth y manwynau, a phenau erachog. Cymeryd ychydig o hono sydd yn dda i beri dwfr, ac i ostwng chwydd yn y corph, ond cymeryd gofal.

BARF YR AFR, BARF Y BWCH.—*Goat's Beard, Go to bed at noon.*

MAENT yn fynych mewn gweirgloddiau a

phorfeydd. Blodeuant yn Mehefin. Y gwraidd a weithia yn dyner i beri dwfr, ac y mae yn dda yn y graianwst: mae yn dda i beri nerth i'r rhai a ddaliwyd mewn hir glefydon. Gellir berwi y blaenion ieuaingc a'u bwyta gyda bwyd. Y maent yn blasio yn debyg i bys gleision.

### Y BENFELEN.—*Groundsel.*

MAENT i'w cael agos yn mhob man, yn enwedig mewn gerddi: ac yn flodeuog drwy y flwyddyn. Trwyth o'r dail a bâr gyfog; plastr o honynt wedi eu cnoeio, neu eu hysigo, sydd yn dda ar anafodau. Sawyro y gwraidd, pan gyntaf y tynir o'r ddaear, a dŷr ddolur mewn pen yn fuan.

### BLAEN Y GWAYW.—*Heart's-ease.*

MAENT yn gyffredin mewn yd-tir, yn blodeuo o Fai hyd fis Medi. Mae'r dail yn ddihareb at blastr ar friwiau; ac fe'u rhoddir i blant ieuaingc rhag y bolwst, ac attaliant lewygfeydd a ddwg y cyfryw boen arnynt.

### Y BELE DU.—*Henbane.*

MAENT mewn lleoedd lleithion ac yn mysg yrbwrial. Yn dechreu blodeuo yn Mehefin. Arferir y dail mewn amryw glwyfau gan phisygwyr, ond enbyd iawn i neb arall ymyryd â hwy, am eu bod yn dra gwenwynig.

Y BELE GWYN.—*White Henbane.*

TYFANT yn benaf yn y gwledydd mwyaf brwd yn Ewrop; a blodeuant yn Gorphenhaf. Eu hâd a dyner oerant, ac felly ydynt ragorol i esmwythâu poen; hwy a barant gysgu heb niweidio y pen, fel yr opiwm. Eu cymeryd fesur ychydig, hwy a esmwythânt y bolwst, ac y maent yn dda ragorol yn y peswch, a doluriau y froneg, ac hefyd yn mhoeri y gwaed. Maent yn dda i attal gormod rhediad y misglwyf a'r gwaedlif yn y ddeuryw.

BLODAU GORPHENHAF.—*July White Stock.*

Y MAENT yn gyffredin yn ein gerddi, ac yn blodeuo yn Gorphenhaf ac Awst. Trwyth o'r blodau irion a anog y mis-lif, ac a bâr ryddhad i'r dwfr; enaint o honynt wedi eu berwi mewn bloneg, sydd yn dda i iro tethau dolurus y bronau, ac archollion ar ddwylaw.

BOGAIL Y FORWYN, edr. DAIL GRON.

Y BENGALED.—*Knapweed, Scabious.*

MAENT yn gyffredin hyd y caeau, ac yn blodeuo yn Mehefin. Maent yn gwbl o natur rwym. Berwaid o'r blaenion ieuaingc sydd yn dda rhag gwaedu o glwyf y marchogion, ysgwrio y gwaed, a gwaed-lifau ereill. Gwydriaid o hono sydd yn dda i olchi dolur yn y gwddf. Y dail wedi eu hysigo sydd yn dda ar friwiau newyddion; hwy a attaliant y gwaed, ac a'u hiachant yn fuan.

BERW'R IAR, edr. CANCLWM.

BLODAU'R GOG.—*The Wild Gilly-flower.*

MAENT yn gyffredin mewn gweirgloddiau; blodeuant yn Ebrill a Mai. Y sug a weithia yn nerthol i wneyd dwfr, ac y mae yn dda yn y eryd melyn, a phob ewynion a dardd oddiwrth rwystr y coluddion, a'r dyfrglwyf. O gylch llonaid gwinwydr sydd yn ddigon o hono ar unwaith. Sychu y blodau yn ofalus, maent yn dda at y gewynau *(nerves)* a dirdyniad y gïau, y parlys, a llesmeiriadau y famog: cymeryd o honynt yn nghylch haner dram ar unwaith, a hyny ddwy waith yn y dydd, maent yn lladd llyngyr yn ngholuddion a chylla plant.

BLAEN Y CONYN AR Y MEL, edr. LLYSIAU'R DRYW.

BLEIDD-DAG.—*Wolf's Bane,* or *Monk's Hood.*

LLYSIAU gwenwynig ydynt, a dylid eu gochel. Os dygwydd i rywun lyngcu dim o honynt yn nghyda dail ereill, yfed yn ebrwydd swm mawr o winegr.

BRYMLYS.—*Penny-royal, Lercitus.*

Y MAENT yn tyfu mewn gweirglodd iau a phorfeydd lleithion yn aml; blodeuant yn Awst a Medi. Llonaid llwy o'u sug gyda siwgr candi, sydd yn dda iawn rhag y pâs. Trwyth o'u dail sydd yn llesol yn y famog, ac yn y

manwynau. Mae dwfr poeth yn y siopau wedi ei ddistilio o honynt, ac yn dda iawn yn y clwyfau uchod, ac yn enwedig yn rhwystrau y mis-lif.

BLODAU Y BRENIN.—*Peony.*

NID ydynt i'w cael ond yn y gerddi. Blodeuant yn Mai a Mehefin. Mae y gwreiddyn yn rhagorol o dda yn nghlwyfau y pen a'r manwynau. Yn bowdr y cymerir ef yn yr achosion hyny,—pwys 12 gronyn ar unwaith, a dal ato dros swrn o amser, fe iachâ glefydau y gewynau, dolur y pen, a'r confylsiwn; ac a iacha yr hunllef mewn byr amser. Trwyth o'r gwraidd a rwyddha y mis-lif. Mae yn dda yn llesmeiriau y famog, a chlwyfau y gewynau, ac yn enwedig yr heint-glwyf.

Y BUPUR-LYS.—*Pepper-wort.*

MAENT mewn gweirgloddiau a thir pori, ond nid yn aml. Blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf, ac y maent o flas llym-boeth. Cnoi y dail a iacha y ddannodd; eu hysigo, a'i osod yn blastr a esmwythâ wayw y cluniau. Arferir trwyth-gwan o'r gwraidd i brysuro esgoriad; yn y dull yma efe a bâr ddwfr, ac a lanha yr elwlenau, a'r groth, o'r graian. Ei gymeryd yn rhy gryf a bâr gyfog.

BRIALLU.—*Primrose.*

Y GWRAIDD wedi eu sychu a'u gwneyd yn llwch sy'n rhagorol i beri tisian dibaid heb

niwaid; hwy a dynant lawer o ddwfr a llysnafedd o'r pen. Y mae yn dda fel hyn i wendidau y manwynau, ond dylid ei arfer gyda gofal. Dram a haner o'r gwraidd wedi eu tynu yn y cynhauaf a bâr gyfog cryf.

Y BENGALED, edr. Y GLAFRLYS.

BRYTWN.—*Southernwood, Old Man.*

MAE y dail yn gyffredin yn ein gerddi. Blodeuant yn yr hâf. Maent yn nerthol yn y dwfr-fanau i'w rhyddhau, ac yn dda yn nghwynion y famog. Y ffordd i'w cymeryd yn yr achosion yma, yw gwneuthur cyflaeth drwy siwgr ddwywaith eu swm.

BLODAU'R HAUL.—*Turnsole.*

MAENT yn perthyn i'r manau cynhesion o Ewrop. Blodeuant yn Mehefin. Trwyth o'r blaenion ieuaingc, a'i yfed yn helaeth, a ryddha ffordd y dwfr, ac a iacha y graianwst. Y sug a dŷn ymaith ddafadenau. ond ei osod arnynt.

CRAFANGC YR ARTH.—*Bear's foot.*

MAENT yn tyfu yn wylltion mewn amryw fanau, ac yn gyffredin mewn cysgodion. Blodeuant yn Mawrth ac Ebrill. Tra gwenwynig yw y rhai hyn, ac enbyd i'w harfer ond gyda mawr ofal; arferir hwy mewn meddyginaeth a phisygwriaeth, ond mi a'u gadawaf heibio.

CRIBAU ST. FFRAID.—*Betony.*

MAENT yn tyfu mewn coedydd, cloddiau, a lleoedd cysgodol. Blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Eu harfer megys tê yn y bore, sef eu dail a'u blaenion ieuaingc, a iacha lym-boen o'r pen. Mae y dail sychion, wrth eu sawyro, yn anog tisian; a'u llosgi megys tybacco sydd yn llesol iawn yn nghlwyfau y pen a'r cylla. Gwneyd y dail ieuaingc yn bêr-deisen sydd yn llesol iawn yn y clwyf melyn, y parlys, y *gout*, y dropsi, a ffitiau sydyn; ac mewn anwyd, pesychu, tisian gormod, byrdra gwynt, dylifiad yr ysgyfaint, &c. Trwyth cryf o honynt mewn berw-ddwfr a ladd lyngyr, ac a symud rwystrau yn y corph, a phoenau yn y cefn a'r asenau. Eu cymeryd i'r corph a bâr gyfog mawr.

CWLWM Y GWYDD.—*Bindweed.*

MAE y dail hyn yn gyffredin mewn caeau gwaelion a min ffyrdd: dechreuant flodeuo yn Mai, a pharhant yn flodeuog drwy yr haf. Eu gwraidd sydd yn gyfog cryf, ond i'r dymher a'i goddefo y mae yn llesol rhag y melyn-glwyf a'r dropsi, neu glwyfau ereill yn deilliaw oddiwrth rwystrau yn yr ymysgaroedd. Y modd i'w harfer yw ysigo y gwraidd, ac yfed y sug mewn bîr cryf.

CELYN MAIR.—*Butcher's Broom.*

MAENT yn tyfu yn wyllt mewn rhai manau, ac yn blodeuo yn Mawrth ac Ebrill. Dwfr

wedi berwi y gwraidd ynddo sydd yn dda at rwystrau y dwfr a'r dropsi. Mae yn rhagorol rhag y clwyf melyn, a'r graianwst, neu y gareg.

CORN YR HYDD, CORN YR IWRCH.—*Broom Rape.*

TYFANT mewn lleoedd sychion graianllyd, yn mysg banadl a phlanhigion ereill, ac yn eu perffeithrwydd yn Mai a Mehefin. Dwfr oddiar ferwaid cryf o honynt sydd yn dda rhag rhwystrau yn yr afu, a'r coluddion. Maent yn gweithio i beri dwfr, ac am hyny yn dda ragorol yn y clwyf melyn, y dropsi, y graianwst, &c. Y ddalen wedi ei gwneyd yn llwch a ebrwydd iacha y bolwst neu y colic. Eu gwneyd yn enaint sydd yn dda iawn i ostwng ac i chwalu chwydd o'r cnawd.

CAMMIL.—*Camomile.*

MAENT yn tyfu yn wyllt, ac fe'u ceir mewn gerddi; ond mwy rhinwedd sydd yn mlodau y rhai gwylltion. Maent yn flodeuog yn Awst. Trwyth o'r blodau sydd dda ragorol yn nghlwyfau y cylla, a'r confylsiwn. Yfed llawer o hono a bâr gyfog. Berwaid o'r blodau a iachâ y cryd yn hollol, ie, yn fynych, pan f'o Rhisglyn yr India yn methu. Twymdwyriad a phlastr o honynt sydd yn dda rhag dolur y gwddf. Goreu ydynt wedi eu cynhauafa yn dda. Gyda eu bod yn dda megys

chwerwlys, y maent yn dda rhag llawer math o golic oddiwrth anwyd a gwynt; fe'u canmolir yn y famog a'r pruddglwyf, yn y graianwst, ac mewn clefydon cyfnewidiol. Y dogn o'r blodau sychion yn sylweddol ydyw o gylch 12 gronyn. Y sug sydd yn dda ragorol rhag tostedd, diffyg anadl, clwyf melyn, a'r dropsi. Trwyth o'r blodau sydd yn dda hefyd i beri chwys.

### CLAIS Y MOCH?—*Clary.*

FE'U meithrinir mewn gerddi. Blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Y maent yn llesol iawn yn y famog, a'r mis-glwyf gwyn; pêr-gymysg o'r blaenion a wresoga y cylla, ac a wresoga y bol-chwydd; y maent yn dda rhag dolur yn y pen, iselder yspryd, a chwyfau ereill oddiwrth y gewynau. Berwaid o'r dail sydd yn rhagorol ddwfr-genau, lle byddo y gorchfantau yn llygredig a drewllyd. Eu ffroeni yn llwch a bâr disian, ac a dyn ddwfr o'r pen.

### CYNGAFAN.—*Clavers, Goose Grass.*

MAE y dail hyn yn gyffredinol yn tyfu mewn cloddiau. Blodeuant yn Mai a Mehefin. Cymeryd o gylch pedair owns o'r sug bob nos a bore dros rai wythnosau, sydd yn dda rhag tori allan linorod trwy y croen. Dywedir fod rhinwedd mawr ynddynt, ond ychydig a wyddis am danynt eto. Y sug a oera y corph ac a rwyddha redfeydd y dwfr, ac y mae yn

dda yn y graianwst, ac yn dda ragorol yn yr ysgyrfi.

CARN YR EBOL.—*Colt's foot.*

MAENT yn tyfu yn gyffredin mewn tiroedd gwlyb-gleiog. Ymddengys y blodau yn Mawrth, a'r dail yn Mai. Fe'u harferwyd gynt yn nghlwyfau yr anwyd, pesychu, a'r darfodedigaeth, ond nid cymaint yn bresenol. Nid oes nemawr beth gwell na berwaid o'r dail sychion rhag y manwynau: ei yfed dros bedwar mis yn gryf a iacha y clwyf yn hollol.

CWMFFRI, edr. GLESYN Y COED.

FE'U meithrinir yn ein gerddi: a blodeuant yn Gorphenhaf. Yr hâd yn unig a arferir o honynt, y rhai syddyn rhagorol dda i gynhesu, i gysuro, a chryfhau y cylla, i chwalu gwynt, ac er anogaeth i'r archwaeth. Maent yn dda rhag dolur pen, a rhwystrant gyfog.

CRAFANGC Y FRAN.—*Crow's foot.*

TYFANT braidd yn mhob man; y mae amryw rywogaethau o honynt, ond y blodau sydd o'r un ddull. Mae y planhigyn oll yn llym-sur: y sug sydd hynod i wisgo ymaith ddafadenau oddiar ddwylaw. Wedi eu curo yn blastr yn nghyda'u gwraidd, y maent yn hynod o ysol, ac yn gryf ddigon i chwysigenu y cnawd, ac i ysu ymaith gig marw. Mewn dwys ddolur yn y pen, plastr o honynt a rydd esmwythâd ebrwydd.

CLAIS.—*Devil's bit.*

MAE y dail hyn yn tyfu mewn pawr-diroedd sychion. Blodeuant yn Mehefin a'r misoedd canlynol. Berwaid o'r dail sydd yn gyfaredd hynod dda rhag y frech Ffreinig, neu y dinboeth glwyf. Berwaid o'r dail sydd yn dda yn y peswch, a chlwyfau ereill yr ysgyfaint. Y gwraidd, wedi eu sychu, a'u gwneyd yn llwch, a bâr chwys, ac y maent yn dda mewn llycheden.

COR-FANADL, edr. AUR-FANADL.

CHWAINLLYS.—*Flea-bane.*

MAENT yn tyfu mewn porfeydd bryniog; ac yn bwrw blodau yn Gorphenhaf ac Awst. Briwlys rhagorol yw y rhai hyn, ac fe'u harferir yn y rhwygfol, briwiau oddi fewn, poen yn yr ystlys, a diffyg anadl.

CAILL YR YNFYD.—*Fool's Stones.*

NID yw yr enw hwn ond yn ol yr enw Seis'nig. Yr wyf yn tybied mai Cennin y brain, Esgidiau neu Hosanau y gog ydyw; ond dylid bod yn ofalus i wybod hyny yn sicr. Maent yn gyffredin mewn gweirgloddiau a phorfeydd: blodeuant yn Mai a Mehefin. Y gwraidd yn unig a arferir; y maent yn barod yn siopau y Cyfferwyr dan yr enw *Salep*, yr hwn sydd yn dda iawn yn nghlwyf y gwaed, y testedd, a'r darfodedigaeth.

COD Y MWG, edr. MWG Y DDAEAR.

CEWERWLYS, edr. LLYSIAU'R CRWYN.

CORN CARW'R MOR.—*Glasswort.*

MAENT yn tyfu ar fin y môr yn helaeth. Blodeuant yn Awst. Y maent o flas hallt. Arferir eu cyffeithio neu eu pilio i'w harfer gyda bwyd. Mae'r sug yn dda iawn i rydd-hau ffyrdd y dwfr, a rhag y dropsi, drwy gymeryd o gylch haner chwarter owns o hon-ynt ar unwaith.

CRAFANGC YR ARTH DU.—*Black Helebore.*

MAE y dail hyn yn tyfu yn ein gerddi. Blodeuant yn nechreu Ionawr. Eu gwraidd yn unig a arferir mewn phisygwriaeth; a dylid eu harfer gyda gofal: y mae ychydig bach o hono yn rhyddhau y corph yn drwm. Y maent yn dda i anog y mis-lif, ac yn llesol yn y famog; ond gan fod llysiau creill llai peryglus, gwell gadael y rhai hyn heibio.

CRAFANGC YR ARTH GWYN.—*White Helebore.*

MAENT yn tyfu yn mynyddoedd Germany: blodeuant yn Gorphenhaf. Ni ddylai neb ym-yryd â hwy ond y cyfarwydd; canys wrth eu camarfer y maent yn myned yn wenwyn pur; gan hyny nid yw o werth amser i son am danynt.

CEGID.—*Hemlock.*

MAENT yn dda i'w gosod yn blastr ar

chwydd caled; y dwfr wedi ei ferwi ynddo sydd yn dda i dwym-ddwyro chwydd ac anafodydd ffyrnig. Nid oes odid blanhigyn a mwy o arfer arno mewn phisygwriaeth na hwn, ond nid yw i ymyryd âg ef ond gan y cywrain yn unig; oblegyd y mae yn wenwyn marwol wrth ei gamarfer.

CEGID Y DWFR.—*Water Hemlock.*

MAENT yn tyfu yn min ffrydiau; a blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Nid yw *arsenic* ei hun yn gryfach gwenwyn na'r rhai hyn; gan hyny dylid eu gochel uwchlaw pob planhigyn a dyfo drwy y ddaear. Dygwydd weithiau i ddynion eu bwyta yn mysg berw'r dwfr; mor gynted ag y clafycha dyn o'r achos, dylid allan o law roi *sweet oil* yn ei fol, neu gyfog cryf i'w gweithio allan o'i gylla: os amgen, marwolaeth a ganlyn yr effaith. Bydd anifeiliaid yn eu pori, ac yn meirw mewn canlyniad; dywedir am wartheg yn llyngcu pryf, ac yn meirw, ond barna amryw mai wedi llyngcu cegid y byddant.

CYWARCH.—*Hemp.*

BLODEUA yn Mehefin a Gorphenhaf. Meddyginiaeth o'r hâd sydd yn phisygwriaeth dda iawn yn y cryd melyn, a phob rhwystrau yn yr afu.

CELYN.—*Holly.*

PAWB a'i hedwyn. Blodeua yn Mai, a'i

ffrwyth yn aeddfed yn Rhagfyr. Mae yr cirin yn dda ragorol yn y colic; rhagddo gellir cymeryd o ddeuddeg i bedair-ar-ddeg ar unwaith: maent o natur rydd. Cymeryd twysgen o honynt a symud ymaith wynt a llysnafedd o'r perfedd. Berwaid o'r dail mewn llaeth neu gwrw, a wnant yr un peth; ac y maent yn gynorthwyol yn mhoen a gwendid y cefn; nid oes odid beth gwell rhag y gymalwst, ond yfed o hono gryn swm dros gryn amser, ac yfed yn yr un amser yn helaeth o ryw wlybwr teneu arall.

CEDOR Y WRACH.—*Horsetail.*

PAWB a'i hedwyn. Berwaid eryf o'r dail irion sydd yn dda i attal y mis-lifiant, gwaedlif y bol, a phan fo poen yn yr ymysgaroedd, a biswail gwaedlyd. Maent yn burion i attal gwaed o archoll. Maent o natur oer, rhwym, tyner; eu cymeryd yn bowdr wedi eu berwi, neu eu sug, sydd yn dda hynod rhag poeri gwaed, piso gwaed, neu y mis-lif gormodol, a llinorynau yn ffordd y dwfr.

CYNFFON Y LLYGODEN.—*Houseleek.*

TYFANT ar hen furiau, ac ar nenau tai: blodeuant yn Gorphenhaf. Mae y sug yn dda i'w osod ar losg tân i'w attal rhag ymledu. Yn gymysg â mel, mae yn llesol iawn rhag y rhisglen, neu y cancr yn y genau. Maent o natur rwym ac oer, ac felly mae y sug yn dda rhag gwres yn y llygaid. Maent yn rhagorol

awn i dynu cyrn oddiar fysedd y traed. Y dail wedi eu berwi mewn bloneg, a wna enaint da iawn i oeri a thyneru cnawd a fyddo o natur tòri allan.

CENIN Y BRAIN—*Hyacinth.*

MAENT yn gyffredin mewn cloddiau, a blodeuant yn nechreu Mai. Mae y gwraidd iraidd yn wenwynig, ond hwy a wnant burion syth, neu *starch.* Mae y gwraidd yn llawn sug gwydn: berwaid o honynt a bâr wneyd dwfr yn helaeth; powdr o honynt sy'n iachusol ragorol, ac a attal waedlif; nid oes nemawr beth gwell rhag y mis-lif gwyn.

CANCLWM.—*Knotgrass.*

CHWYN pur gyffredin ydynt, a blodeuant yn Gorphenhaf. Rhwym ydynt, ac y maent yn dda iawn mewn rhyddni corph, stolion gwaedlyd, clwy'r marchogion gwaedlyd, gormodedd o'r mis-lifiant, a phob gwaedlif arall. Mae y sug yn dda i lanhau hen friwiau, ac i dynu ymaith boen a phoeth-ysfa o'r pen.

CENIN.—*Leeks.*

MAENT yn mhob gardd. Blodeuant yn Mai a Mehefin. Berwaid o'r dail yn gyflaeth gyda mêl, sydd yn phisygwriaeth ragorol rhag y peswch, byrdra gwynt, a chlwyfau ereill y froneg a'r cylla. Y sug sydd o natur rydd, ac yn fynych yn dda yn y graianwst neu y gareg

CWLYN Y MEL, CYCHWLYN, edr. LLYSIAU Y DRYW.

CLUSTIAU Y DERW.—*Lungwort of the Oak.*

TYFANT ar foncyffion y derw, a choed ereill, ond nid yn aml. Maent yn rhagorol i folrwymo. Berwaid cryf o honynt a attalia fislifiant yn rhy helaeth, a phob gwaedlif arall, yn enwedig poeri gwaed: o achos hyny y tybir ei fod yn dda yn y darfodedigaeth.

CANCLWYF.—*Money-wort.*

TYFANT mewn lleoedd llaith cysgodol. Blodeuant yn Mehefin. Maent yn oer-rwym, ac yn dda rhag poeri gwaed, a gwaedlifiant o bob math: i'r perwyl hyny dylid eu rhoi yn bowdr. Y merched a wyddant fod eu sug yn hynod rhag gormod dylifiant misol. Y gwraidd wedi eu powdro sydd yn llesol rhag gormod rhyddni. Mae yn dda yn yr ysgyrfi, a'r dail yn blastr hynod ar wyrdd-friwiau gofidus.

CWPANAU Y DDAEAR.—*Moss Cups.*

Y MAENT yn tyfu ar geulenydd sychion, ar fin coedwigoedd, ac mewn rhosydd llymion. Eu berwi pan fyddont îr mewn dwfr hyd pan fyddo gryf, a'i gymhwyso â'r un faint o lefrith, a'i felysu â mêl, nid oes nemawr beth gwell i blant rhag y pâs.

CLUST Y LLYGODEN, edr. Y FLEWYNOG.

CODWARTH, edr. Y GEDOR-WRACH.

CLOR, CNAU'R DDAEAR.—*Pig Nut.*

TYFANT mewn gweirgloddiau a phorfeydd: y blodau a ymddangosant yn mis Awst. Y gwraidd a fwyteir yn amrwd, neu wedi eu berwi neu eu rhostio. Y maent yn iachus a maethlon. Yr hâd a chwàl wynt o'r cylla, a'u cymeryd yn helaeth a ryddha ffyrdd y dwfr.

CAS GAN ARDDWR, edr. TAG YR ARADR.

CHWERWLYS YR EITHIN—*Wood-sage.*

Y MAENT yn tyfu mewn coedwigau ac yn mysg eithin: blodeuant yn Gorphenhaf. Rhai a'u harferant yn lle hops i chwerwi eu diod frâg, ar yr hon y rhydd liw uchel. Trwyth o honynt a bâr chwys, a gwneyd dwfr yn helaeth, ac a ryddha rwystrau benywaidd. Yfed y sug yn helaeth dros swrn o amser a iacha y gymalwst. Maent yn iachusol, meddant, yn y frech Ffreinig.

CORN Y CARW, edr. Y GODOG.

CORN YR HYDD.—*Sumack.*

TYBIR nad addas yw yr enw Cymraeg yma arno, gan fod genym blanhigyn o'r enw hwn yn ein gwlad; nid yw hwn ond dyeithr i ni, ond y mae i'w gael weithiau yn ein gerddi. Yr hâd,

wedi eu powdro, a chymeryd ychydig o honynt, a attal rydd ni a'r gwaedlif. Y blaenion ieuaingc a gryfha y cylla a'r ymysgaroedd, trwy yfed trwyth cryf oddi arnynt.

CYNFFON Y CAPWLL, edr. Y FALERIAN.

CRINLLYS, edr. Y FIOLED.

### CARDAMON.

PERTHYNOL ydyw i'r Ddwyreiniol India; nid oes genym enw Cymraeg arno. Ei hâd yn unig a arferir mewn phisygwriaeth. Nid oes mo'i ail am esmwythau ac iachau y chwyddwynt; mae yn bêr ei arogl a'i flas; ac yn odidog yn ngwendidau y cylla. Mae i'w gael yn y siopau, wedi ei drwytho mewn brandi da, ac a elwir *Tincture of Cardamon.* Llwyaid neu ddwy sydd ddigon ar unwaith, a hyny ddwywaith neu dair yn y dydd.

### Y DINLLWYD.—*Agrimony.*

MAE y dail hyn yn fynych mewn porfeydd sychion a chloddiau. Blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Eu berwi mewn dwfr ac yfed hwnw, haner peint ddwy waith neu dair yn y dydd, a iacha y clwyf melyn yn hollol; ond y mae yn gofyn cyfog yn gyntaf, a chadw y corph yn lled rydd dros yr amser y cymerir ef. Eu cymeryd yn bowdr a iacha y cryd yn ddiffael.

### Y DINBOETH.—*Arsmart.*

TYFANT mewn lleoedd lleithion: blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Maent o flas tanbaid; ac yn dda i iachau llinorod yn y genau, dolur sydd yn aml flino plant. Dwfr wedi ei ddistilio oddiarnynt, ac yfed swm peint o hono bob dydd, sydd yn dda rhag y graianwst, neu ddolur y gareg. Maent yn dda i beri dwfr: ac fe'u harferir rhag y clwyf melyn, trwy gymeryd dwy neu dair owns o'u sug bob dydd.

### DAIL TRYFAN, edr. ALAN MAWR.

### Y DDILWYDD FELEN.—*Celandine.*

MAE y dail hyn yn tyfu yn gyffredin mewn cloddiau a lleoedd geirwon cysgodol, a murddynau: blodeuant yn Mai a Mehefin. Mae eu sug yn dra llym-sur, yn ddistrywiol i ddyfr-wynt a dafadenau, yn iachad i'r ymgrafu, a phob croen-darddiad arall. Yn rhwystrau y coluddion y mae yn phisygwrol iawn; cyfleithio y gwraidd yn nghyda siwgr a ryddha y corph, ac a bâr wneyd dwfr, ac felly y mae yn dda yn y clwyf melyn. Berwaid o'r gwraidd wedi eu tafellu sydd yn feddyglyn hynod i beri chwys. Y gwreiddyn wedi ei falu yn llwch, a chymeryd o gylch haner dram o hono yn nghlwy'r gwaed, sydd lesol iawn. Mae'n llesol iawn yn y clwyf

melyn, a'r dropsi, a rhwystrau y mis-lifiant; dylid cymeryd gofal wrth eu harfer, gan eu bod mor llym-sur; ac y maent o natur rhy enynol i gymeryd yn helaeth o honynt.

### Y Dewbanog fechan.—*Cowslips.*

Maent yn gyffredin mewn gweirgloddiau a phorfeydd cleiog, a blodeuant o Ebrill hyd Fai. Mae y gwraidd wedi eu berwi mewn cwrw, a'i yfed, yn dda rhag y bendro. Y sug wrth ei sawyro, yn gymysgedig â gwinegr, a dŷr ddolur y pen.

### Dant y Llew.—*Dandelion, Piss-a-bed.*

Y maent yn gyffredin yn y maesydd a'r cloddiau: blodeuant yn Ebrill a Mai. Maent yn dra effeithiol i beri dwfr, ac o'r herwydd y geilw y Saeson hwynt *Piss-a-bed;* cryf ferwaid o honynt sydd yn dda yn y gareg a'r graianwst; a bwyta y dail ieuaingc sydd yn rhagorol yn yr ysgyrfi.

### Y Dorfagl.—*Eyebright.*

Maent yn aml ar diroedd sychion, a bryniau noethion; ond ni thyf y planhigyn hwn heb gysgod un arall a fyddo uwch nag ef. Blodeua yn Gorphenhaf ac Awst. Y mae yn hynod o effeithiol i iachau clwyfau y llygaid; y ffordd i'w arfer ydyw gwasgu y sug; a'i osod wrth, ac yn y llygaid, ddwy neu dair gwaith yn y dydd; ond os y clwyf a fu hir drigiannol,

addas fyddai sychu y planhigyn a'i wneyd yn llwch, a'i hir gymeryd, o gylch 32 rhan o owns, sef haner dram, ddwy waith neu dair yn y dydd; ac fe'i hyfir megys tê. Cymeryd ei llwch sydd yn dda i beri dwfr.

DAIL FFIONFFRWYTH, edr. BYSEDD COCHION.

Y DDERWEN GAERSALEM, Y DDERWEN FENDIGAID.—*Germander.*

MAE yn gyffredin yn Ffraingc, ac weithiau fe'i ceir yn wyllt yn Mrydain: blodeua yn Mehefin. Mae yn llesol yn rhwystrau benywaid, a'r crydau, a doluriau y manwynau, y *gout*, a'r gymalwst. Trwyth cryf sydd yn addas yn y cwynion hyny.

Y DORLLWYD, edr. PALF Y GATH.

MAENT yn tyfu yn aml mewn cloddiau, ac yn mysg ysbwrial a hen furddynod. Yn flodeuog o Ebrill hyd ddiwedd Awst. Berwaid cryf o'r dail sydd yn dda yn y graianwst a'r gareg; ac yn odiaeth i wartheg a fyddo yn piso neu yn bisweilio gwaed. Mae yn llysieuyn briw rhagorol. Enaint o'r dail irion, wedi eu berwi mewn bloneg, sydd yn dda iawn i iro chwydd oddiwrth y manwynau, a chrach ffyrnig.

DAIL GRON.—*Kidney-wort.*

MAENT yn tyfu ar hen furiau a chlipiau creigiau: blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf,

Y sug i'w gymeryd oddi mewn sydd oer, ac a ryddha ffyrdd y dwfr. Oddi allan y mae yn iachad i'r eryr, tân-iddwf, ac a esmwythâ losg eira a'r gibwst.

DRYDON, edr. LLYSIAU'R DRYW.

DAIL YR YSGYFAINT.—*Master-wort.*

MAENT yn perthyn i'r rhanau brydion o Ewrop: blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Trwyth ysgafn o honynt, sef o'r gwraidd, sydd yn dda iawn mewn clefydon gwenwynig a heintus; ac y mae yn dda yn nghlwyfau y pen, y cylla, a'r ymysgaroedd. Maent i'w harfer pan y tyner hwy o'r ddaear cyn gwywo o honynt ddim.

Y DEWBANOG, DAIL Y MELFED.—*Mullein.*

MAENT yn gyffredin ar fin ffosydd mewn sychdir tywodlyd. Berwi dwy owns o honynt mewn chwart o ddwfr, ac yfed y dwfr, sydd dda mewn rhyddni. Efe a esmwytha boen yn y bol; a lle bydd chwant i garthu i lawr, ac heb allu i gyflawni hyny, y maent yn dda i'w chwistrellu i gyflawni hyny, ac i'w ddwyn yn mlaen. Eto y mae yn rhwymol o natur. Y gwreiddyn, wedi ei sychu a'i bowdro sydd yn dda yn y gwaedlif, wedi carthu y perfedd yn gyntaf gyda dogn o *Rubarb.* Cymerer o hono ar unwaith o gylch 20 gronyn. Sug y dail, wedi ei ferwi yn gyflaeth gyda mêl, sydd yn hynod rhag y pes-

ychu, a chlwyfau y cylla; sug y gwraidd gyda gwin coch, sydd yn hynod rhag gormod dylifiad misol, a phoen y gwaed, ac i ostwng chwydd clwyf y marchogion. Plastr o'r blaenion ieuaingc sydd yn dda i ostwng y chwydd hwnw.

DAIL LLYRIAID.—*Plantain.*

MAENT o natur oer-rwym iachaol. Berwaid o honynt sydd yn dda yn nghlwyfau yr elwlenau a ffyrdd y dwfr. Y gwreiddyn wedi ei bowdro sydd yn dda mewn rhyddni gwaedlyd, drwy gymeryd o hono o gylch dram ar unwaith; y sug sydd yn llesol rhag poeri gwaed a rhediad gormodol y mis-lif gwyn, y chlwyf y marchogion (yr hâd wedi ei bowdro a wna hyn.) Y dail yn gyfan neu wedi eu hysigo sydd yn dda ragorol yn blastr ar friwiau newyddion, i'w hiachau yn fuan, ac y mae yn dda hefyd i lanhau hen friwiau cornwydlyd.

DYFRLLYS.—*Water Plantain.*

MAENT yn tyfu ar fin pyllau ac afonydd: blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Mae y gwraidd yn oeraidd ac yn attaliol; arferir hwy yn fynych yn syrthiad i lawr yr eisteddle, ac yn nglwyf y marchogion. Y sug a iacha boeri a phiso y gwaed. Eu gosod wrth fronau merched a'u hyspiant yn fuan.

DANADL POETHION.—*Nettles.*

MAENT yn adnabyddus i bawb. Rhoi deilen

ar y tafod, a'i gwasgu wrth daflod y genau, a rwystra waedu o'r ffroenau. Aelodau wedi diffrwytho gan y parlys a adferwyd amryw weithiau i'w cyflawn nerth trwy eu chwipio â danadl poethion yn unig. Y dail yn ieuaingc sydd yn rhagorol dda i'w berwi mewn cawl neu botes yn y gwanwyn, a'u bwyta rhag yr ysgyrfi, a phob anmhuredd arall yn y gwaed. Sug y dail i'w gymeryd ei hunan, neu wedi ei ferwi yn nghyda siwgr, sydd yn dda rhag poeri gwaed, neu ryw waedlif arall. Y blodau a'r hâd wedi eu cyffeithio sydd yn dda iawn rhag y gareg. Berwaid o'r gwraidd sydd yn dda yn y clwyf melyn; ac yn llesol olchiad i yddfau dolurus.

### Y Ddanadlen ddall.—*Archangel.*

Mae digon o honynt yn moliau cloddiau, a thiroedd llafur; blodeuant yn Mai a Mehefin. Pobi y blodau ieuaingc yn beraidd-does sydd yn dda rhag y dyferlif gwyn. Maent yn naturiol i rwymo, ac felly weithiau yn dda rhag y gwaedlif, ac amryw gyffelyb wendidau.

### Drain duon.—*Black Thorn.*

Trwyth o'r blodau a ryddha y corph. Berwi yr eirin yn gyttew sydd yn llesol iawn rhag llifiant y coluddion. Ni bydd ef ddim gwaeth er ei gadw flwyddyn. Yr oeddid gynt yn ei werthu yn y siopau, dan yr enw *German Acacia*, ond nid ydys yn ei drin yn bresenol.

DAIL Y TWRCH, DAIL Y FENDIGAID.—*Tustain.*

GAIR Ffrengig yw *Tustain*, yn arwyddo yr holliach. Mae y dail yn rhagorol i'w gosod wrth friwiau ffyrnig, hwy a attaliant y gwaed, ac a'u hiachant yn fuan. Y mae amryw blanhigion yn dda iawn i hyny, ond y mae y rhai hyn yn rhagorol i'r perwyl yma.

EIRIN Y CI, edr. LLYSIAU'R NEIDR.

EFFROS, edr. Y DORFAGL.

ELESTR.—*Fleur de lis yellow.*

MAENT yn tyfu ar fin afonydd a lleoedd lleithion ereill, a blodeuant yn Gorphenhaf. Mae y sug yn dra llym-sur, ac yn odiaeth i ddyhyspyddu y coluddion; a'i roddi i'r perwyl o fesur 80 neu 100 dyferyn ar ben pob dwy awr, y mae yn rhagorol i beri dwfr.

EITHIN.—*Furze* neu *Gorse.*

PAWB a'i hedwyn. Mae yr hâd o natur twym, ac yn addas i'w cymeryd mewn rhyddni, a gwaedlif. Trwyth o'r rhisgl yn iraidd sydd yn dda yn y graianwst, ac a bâr wneyd dwfr.

ESGORLYS.—*Hartwort.*

MAENT yn tyfu yn ein gerddi: blodeuant ddiwedd hâf. Yr hâd wedi eu sychu a'u malu yn llwch a anog y mis-lif, a'r ymadawiad

angenrheidiol ar ol genedigaeth. Maent hefyd yn dda i ryddhau y dwfr, a rhag y gnofa, ac yn llesol iawn i gryfhau y cylla, ac i chwalu gwynt.

### EIDDEW.—*Ivy.*

MAENT yn tyfu yn gyffredin mewn coedydd a chloddiau: blodeuant yn Hydref. Y Germaniaid a arferant y dail rhag darfodedigaeth mewn plant. Berwaid o'r dail a ladd lau yn mhenau plant. Gwlych o'r cirin a weithia y corph i fyny ac i lawr heb ddim niwaid. Dywedir eu bod yn dda yn y gymalwst a'r dropsi. Sugno y sug i'r ffroenau a bâr ymadael â llysnafedd o'r pen.

### EURLLYS.—*Orach.*

MAENT yn tyfu ar fin y ffyrdd ac ar hen furiau a murddynau, a blodeuant yn Awst. Maent yn daenedig drostynt gan fath o bowdr llwyd, ac o arogl anmheraidd. Cyffeithiad o'r blaenion ieuaingc sydd yn phisygwriaeth ragorol yn y famog, a chlwyfau o'r fath.

### EIRIN Y CI.—*Ragwort.*

MAENT yn tyfu yn gyffredin ar fin y ffyrdd; blodeuant yn Mehefin. Plastr o'r dail irion a effeithia yn rhagorol i symud gwayw yn y cymalau, a'r glunwst, yn mhen dau neu dri thro o'i arferyd, pa mor boenus bynag y byddo. Y gwraidd sydd o natur rwym-iachaol, berw-

aid o hono i friwiau ac ysigdod oddi mewn sydd yn llesol.

EITHIN YR IEIR, edr. TAG YR ARADR.

EITHINFYW.—*Savine.*

MAENT i'w cael yn y gerddi. Trwyth cryf o'r blaenion ieuaingc a rydd anogaeth cryf i'r mis-lif, a phe rhoddid i'r gwragedd beichiog-ion, parai erthyliad. Y sug wedi ei gymysgu â llaeth a ladd lyngyr mewn plant. Y dail wedi eu tori yn fân, a'u rhoi i geffylau yn gymysg âg ŷd, a ladd yr euon neu y pryfed yn eu boliau.

YR EGLYN, edr. TORMAEN.

Y FEIDIOG LAS.—*Ale-hoof.*

MAE y ddeilen hon yn tyfu mewn cysgodion a hen furddynau. Y blaenion wedi eu casglu a'u cyffeithio yn y gwanwyn, a'i wneuthur yn sew yn y gwanwyn, sydd yn dda rhag anwyd, a phesychu, a byrdra gwynt. Cryf drwythiad i'w yfed megys tê sydd yn dda i'r cylla a'r ysgyfaint. Ffroenio y sug i'r pen a iacha yn fuan boen o'r pen.

Y FARWFUD, edr. DANADLEN DDALL.

Y FABGOLL.—*Avens.*

MAE y dail hyn yn tyfu mewn cysgodion a chloddiau ar sychdir: blodeuant yn Mai a'r

misoedd canlynol. Mae y dail wedi eu casglu yn gynar yn y gwanwyn, yn dda i'w rhoi mewn cwrw rhag iddo suro, ac yn peri blas da ar y ddiod. Eu mwydo mewn gwin, y maent yn cryfhau y cylla yn rhagorol. Y maent yn dyner ac yn bêr eu harogl, yn nerth i'r pen, y galon, a'r cylla, yn dda iawn i'w cymeryd yn bowdr rhag y gwaedlif; ac yn iachusol rhag y cryd, wrth ei gymeryd ar win cyn clafychu.

Y FELYNLLYS, edr. BRIGAU'R TWYNAU.

Y FANYGLOD.—*Bitter-sweet.*

RHAGOROL iawn yw y ddeilen hon; mae yn tyfu mewn lleoedd lleithion, a blodeua yn Mehefin a Gorphenhaf. Wrth ei chnoi ar y cyntaf y mae blas chwerw arni; ond yn fuan wedi hyny y mae yn troi mor felus a'r mêl. Trwyth cryf o'r blaenion mewn dwfr berwedig, gellir cymeryd llonaid cwpan dê o hono dair gwaith neu bedair yn y dydd; y mae yn rhagorol i felysu gwaed a'i dymheru, yn nghyda sugnau y corph. Tywallt peint o ddwfr berwedig ar chwarter owns o'r callod yn sychion, sydd yn feddyginiaeth ragorol rhag y gymalwst, y melyn-glwyf, yr ysgyrfi, a'r *pox*, neu glwyf y gynffon. Cymerer o hono lonaid cwpan dê ddwy waith neu dair yn y dydd. Mae yn rhagorol dda rhag diffyg anadl, a phob caethiwed a gwendid yn yr ysgyfaint: y ffordd oreu i'w barotoi yw trwytho pedair owns o'r

canghenau mewn chwart o win gwyn; a chymeryd ar unwaith bedair neu bum' owns o hono.

### FFA'R GORS.—*Buck-bean.*

MAENT yn tyfu mewn tyllau a phyllau mewn corsydd; blodenant yn Mehefin a Gorphenhaf. Trwyth o'r dail sydd yn chwerw iawn, ac yn dda hynod rhag y gymalwst, trwy ei yfed. Mae yn dda hefyd rhag y dropsi; ac wedi eu sychu a'u malu yn llwch, maent yn rhagorol o dda i ryddhau y corph, ac i ddistrywio y llyngyr; ond gochelwch gymeryd llawer ar unwaith,—llai na haner chwarter owns o'r llwch sydd yn ddigon. Maent yn burion i chwerwi cwrw, yn lle hops; i'r perwyl hwn, dwy owns sydd ddigon yn lle pwys o hops. Maent yn rhagorol i ryddhau lleith-leoedd y bol, yn dda iawn rhag y gymalwst, yr ysgyrfi, y melyn-glwyf, a'r dropsi. Cymeryd o hono yr ugeinfed ran o owns yn llwch, dair gwaith neu bedair, a iacha y cryd yn hollol.

### FFENIGL.—*Fennel.*

MAE y ddeilen hon yn tyfu yn wyllt yn aml mewn amryw o'r gwledydd gogleddol, a blodeua yn Gorphenhaf ac Awst. Berwaid cryf o'r gwraidd sydd yn feddyginiaeth rhagorol yn y clwyf melyn a'r dropsi, ac amryw glwyfau yn tarddu o rwystrau yr ymysgaroedd. Cymeryd yr hâd wedi eu sychu, bob bore ar gythlwng, sydd yn dda i gryfhau llygaid a fyddo yn

tywyllu. Trwyth o honynt (sef yr hâd) sydd yn dda i'w gymeryd yn y frech wen a'r goch; mae yn dda rhag byrdra gwynt, clwyfau yr ysgyfaint, ac yn anog gwneyd dwfr; ac anoga y mis-lif. Gosod plastr o'r hâd ar chwydd caled, a'i hiacha.

### FFENIGL Y MOCH.—*Hogs' Fennel.*

MAENT yn gyffredin mewn morfeydd heilltion, a blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Mae y gwreiddyn o arogl ffiaidd, chwerw lymsur ei flas. Berwaid o hono, a'i yfed hyd dri neu bedwar haner peint yn y dydd, a dyr ac a chwâl ymaith lysnafedd gwydn, ac y mae yn llesol rhag diffyg gwynt. Mae yn dda i beri dwfr, ac i anog y mis-lifiant; mae yn llesol rhag pob rhwystrau yn y coluddion. Eu hysigo a'u gosod yn blastr ar y pen a dyr wayw.

Y FILFYW, edr. LLYSIAU'R FFIGYS.

### Y FELENYDD.—*Hawk's Weed.*

MAENT yn tyfu yn gyffredin ar rosydd sychion a hen furiau, a blodeuant yn Mai. Maent oll o natur rwym, ac yn dda i rai fo'n rhyddwaedlyd, ac i attal gormod mis-lifiant. Eu cymeryd yn llwch yw y goreu yn yr achos cyntaf: berwaid cryf o honynt yn y ddau achos i'w cyd-gymeryd, a rydd iachad.

Y FEIDIOG RUDD, Y FIOLED DRILLIW, edr. BLAEN Y GWAYW.

### Y FYWFYTH, Y FYWLYS LEIAF, cdr. CYNFFON Y LLYGODEN.

### Y FELYSIG, cdr. LLYSIAU'R DRYW.

### Y FLEWYNOG.—*Mouse Ear.*

MAE y ddeilen hon yn tyfu yn gyffredin ar sych-fryniau a rhosydd, a hen furiau: blodeua o Fai hyd ddiwedd Medi. Mae yn rhagorol i rwymo, a gellir ei rhoi yn bowdr rhag gormod mis-lifiant, a gwaed-lifau ereill, oddi mewn ac oddi allan. Berwaid cryf o honi a attal ryddni gwaedlyd, ac a lesha yn nghlwyf y marchogion gwaedlyd. Plastr o'r dail, wedi eu berwi mewn llaeth, a bâr esmwythad ac iachad i glwyf y marchogion.

### Y FEIDIOG LWYD.—*Magwort.*

MAENT yn tyfu yn gyffredin ar fin y ffyrdd, a blodeuant yn Awst. Berwaid cryf o honynt a arferir rhag y cryd. Dram o'r dail wedi eu powdro, a'u cymeryd bedair gwaith yn y dydd, a iachaodd wraig a flinasid er's amryw flynyddoedd gan lewygfeydd y famog, mewn ychydig ddyddiau. Yn nghwynion y famog, a rhwystrau yr ymysgaroedd, nid oes dim gwell na chymeryd trwyth cryf o honi. Berwaid cryf o honi, wedi ei felysu â mêl, a iacha y pesychu gerwinaf, ac y mae yn dda rhag gwayw yn yr aelodau. Eli wedi ei wneyd o honynt drwy eu berwi mewn bloneg, a chwâl

gramenau a phlorynod, a chwarenau o gylch y gwddf a'r geg. Trwyth o honynt sydd yn dda at gwynion benywaidd yn y mis-lif.

FFENIGL ELEN LUEDDOG.—*Spignel.*

ANAML y ceir hwy. Y Dr. Davies a ddywed eu bod yn tyfu ar y Garnedd wen, rhwng y Bala a Dolgellau. Yn Mai y blodeuant. Mae y gwraidd o bêr-arogl, ac yn chwibl-sur. Fe'u harferir i chwalu gwynt yn y cylla, a chlwyfau ercill yno; a rhoddir hwy yn effeithiol rhag y cryd tridiau. Maent yn rhagorol i symud rhwystrau yn yr ymysgaroedd, ac am hyny yn llesol yn y graianwst, y clwyf melyn, a rhwystrau y mis-lif. Y gwraidd a arferir yn y pethau hyn, a'r ffordd oreu yw eu trwytho mewn dwfr berwedig. Wedi eu sychu a'u rhoddi yn bowdr, cryfhant y cylla, a chreant chwant bwyd, ac esmwythant y bolwst.

Y FALERIAN.—*Valerian.*

MAENT ar rosydd sychion a phorfeydd uchel. Mae math o honynt ar fin ffrydiau a lleoedd lleithion, ond ni fedd y rhai hyn ond ychydig o rinwedd y lleill. Mae rhinwedd y llysieuyn hwn yn annhraethadwy, yn enwedig yn y clwyfau ofnadwy a elwir clwyfau y gewynau, sef ysprydoedd isel, cryndod calon, dychryn ac anwastadrwydd meddwl, llewygfeydd y famog, anhuniant, y pruddglwyf, a'r ddueg. Y rhai anmhwyllocaf a adferwyd i'w cynefin

synwyrau drwy rinwedd hwn. Y mae y gwraidd a'r blodau i'w cael yn y siopau: y ffordd oreu i'w harfer yw eu trwytho mewn dwfr berwedig, a'i yfed megys tê, ddwy waith yn y dydd, neu yn amlach. Hoff iawn gan gathod eu bwyta.

## Y Ferfain.—*Vervain.*

Mae yn fynych ar fin ffyrdd: blodeua yn Mehefin. Mae y ddeilen hon o rinweddau mawrion megys y ddiweddaf, yn yr un fath glwyfau. Pwys ugain gronyn o honi yn bowdr a iaeha ddolur gwrthnysig yn y pen, ond ei arfer dros enyd. Y sug wedi ei ferwi yn gyflaeth gyda mêl, sydd yn ddihareb i glwyfau'r froneg, megys pesychu a glafoeri. Berwaid cryf o'r dail a lesha yn rhwystrau yr ymysgaroedd, yn enwedig y ddueg, neu glwyf y eleddyf bleddyn.

## Y Fioled.—*Violet.*

Mae yn tyfu ar geulanau syehion: blodeua yn Mawrth ac Ebrill. Mae y blodau a'r hâd yn peri rhyddni; a'r gwreiddyn, ond eymeryd swm dram neu ddau o hono, a ryddha ae a bâr gyfog. Gwneyd cyflaeth o honynt pan fyddont irion yn y gwanwyn, i'w eadw a'u eymeryd, sydd yn rhagorol i beri rhyddni i hen ac ieuainge; ac y mae yn llesol fel hyn hefyd rhag pesychu a chrygni, ac yn dda yn y graianwst.

### GWM ARABIA.—*Gum Arabic.*

HANER dram neu *scruple* o hono, wedi ei bowdro a'i gymeryd ar ryw wlych peraidd, sydd yn dda rhag cos-besychu, clwyf y gwaed, poen yn y bol, ac amryw glwyfau o'r fath, megys poeri gwaed, dyferlif gwyn, &c.

### GWAYW Y BRENIN.—*Daffodil.*

MATH o lili. Maent yn perthyn i'r rhan frwd o Ewrop, ond fe'u plenir yn ein gerddi, er mwyn eu blodeuyn tirion. Eu gwreiddyn, wedi ei ysigo, sydd yn dda i ostwng chwydd yn tarddu oddiwrth y manwynau. Maent yn dra sur-lym a phoeth eu natur, ac yn odiaeth yn rhwystrau y mis-glwyf, ac i beri dwfr. Cymeryd y gwreiddyn i'r corph a bâr gyfog, ac a weithia i lawr hefyd.

### GWDEN Y COED, edr. CWLWM Y GWYDD.

### Y GALDRIST, edr. LLYSIAU'R NEIDR.

### GLESYN Y COED.—*Bugle.*

MAENT yn tyfu yn gyffredin mewn gweirgloddiau a phorfeydd gwlybion; ac yn dechreu blodeuo yn Mai. Trwyth o honynt sydd yn dda hynod i iachau briwiau oddi mewn ac oddi allan. Mae natur rhwymo ynddynt, ac am hyny y maent yn llesol yn nghlwyfau y gwaed, a phob dylifiad arall.

GWYDDLWYN, GWLYDD MAIR.—*Burnet.*

MAENT mewn lleoedd gwlybion: a blodeuant yn Ngorphenhaf ac Awst. Maent oll o natur rwym; y dail a roddir mewn gwin i beri gwell blas arno: ac y mae y blaendarddion o honynt yn dda i'w bwyta megys *salad.* Meddyglyn o honynt a bâr chwys.

Y GARDDWY.—*Caraway.*

DYWEDIR eu bod yn tyfu yn wyllt mewn rhai manau yn Mrydain, ond y maent yn anghyffredin iawn: blodeuant yn Mai a Mehefin. Yr hâd yn unig a arferir mewn phisygwriaeth, ac y maent yn rhagorol i chwalu gwynt o'r cylla, ac yn ddihareb i iachau y manau hyny. Maent yn llesol yn y cryd, ac yn hynod i glwyfau, neu i gryfhau golwg gwan. Maent yn rhagorol yn y colic, ac yn iachad i gymhelliadau y parlys. Yr hâd wedi eu hysigo a'u gwneyd yn blastr ar bydriadau o achos codymau, a'u hiach.a Y maent yn dda yn llewygfeydd y famog.

GWELL NA'R AUR, edr. Y DDILWYDD FELEN.

GWLYDD.—*Chickweed.*

MAE digon o honynt mewn gerddi a thiroedd ffrwythlon: blodeuant o ddechreu Mawrth hyd nes delo rhew i'w dinystrio. Berwaid mawr o'r dail gyda bloneg, sydd yn enaint da

i oeri. Plastr o honynt wedi eu hysigo sydd yn dda i attal chwydd wedi dyrnod neu godwm.

GLESYN Y COED, neu LYSIAU'R CWLWM.—*Comphrey.*

Y MAENT i'w cael ar fin afonydd, ac mewn ffosydd gwlybion: blodeuant yn Mai. Mae rhinwedd nid bychan ynddynt. Pêr-gymysg o honynt a iacha y mis-lifiant gwyn. Berwaid o honynt sydd yn rhagorol rhag pesychu, a dolur yn y froneg. Wedi eu sychu a'u gwneyd yn llwch, y maent yn dda rhag dylifiant yn y bol, pan fyddo cnofeydd a stôl waedlyd. Maent hefyd yn llesol rhag dylifiant yr ysgyfaint, a phoeri gwaed, a chlwyfau y froneg. Wedi eu hysigo a'u gosod yn blastr ar friwiau crawnllyd, byddant iach. Efe a esmwytha ac a symud ymaith fflam-chwydd, ac a esmwytha boen; ac a rwystra waedu yn nghlwyf y marchogion *(piles)*.

GOLD YR YD.—*Corn Marigold.*

MAENT braidd yn mhob cae ŷd. Yn y blodau ieuaingc y mae y rhinwedd mwyaf; y maent yn helaethu dirgel-fanau yr elwlenau, ac yn dda rhag rhwystrau yn yr ymysgaroedd. Peint o'r berwaid cryf, a'i gymeryd yn gyfan dair gwaith yn y dydd, a iacha y clwyf melyn yn hollol.

GLASWELLT, edr. TRIAGL Y CWN.

### Y Grogedyf, Y Grogedau.—*Dropwort.*

Mae y planhigyn hwn i'w gael yn wyllt mewn pawr-dir mynyddig, ond nid yn aml: blodeua ddiwedd haf. Berwaid o'r dail a weithia trwy beri dwfr, ac a ddyg ymaith y graian yn mhibellau y dwfr. Trwyth o hono mewn gwin sydd yn dda rhag llesmeiriau: a'i gymeryd yn llwch sydd yn ddaionus yn y mis-glwyf gwyn a'r gwaedlif.

### Golwg Crist, edr. Dorfagl.

### Y Grogwyrain.—*Fenugreek.*

Planhigyn Ffrengig ydyw. Blodeua yn Mai a Mehefin. Yr hâd yn unig a arferir mewn meddyginiaeth. Y maent yn ddihareb i ostwng chwydd, ond eu rhoi yn boethion arno, a'u newid cyn oeri o honynt.

### Y Gellhesg.—*Flag.*

Maent yn tyfu ar fin afonydd a ffrydiau. Blodeuant yn Mehefin. Mae y gwreiddyn o flas fflam-boeth a chwerwaidd, ac yn cryfhau yn mhob un wrth ei sychu. Ei gymeryd yn llwch a iacha y cryd, cystal a Rhisgl yr India. Trwyth o'r gwraidd îr sydd yn rhagorol i iachau gwendidau y cylla, ac a wella yr archwaeth, ac a bâr rwydd-deb dwfr. Maent yn dda i'w harfer pryd y byddo clefydon heintus a llygredig yn aml. Mae y gwreiddyn

yn dda hefyd i'w gnoi yn y ddannodd, fe larieiddia y boen yn fuan.

GARLLEG.—*Garlick.*

MAE yn perthyn i'r dwyreindir, ond eto yn tyfu yn burion yn ein gerddi ni. Amryw a'i canmolant yn feddyginaethol hynod, ereill a'i goganant, ac a haerant ei bod yn dra niweidiol. Diameu ei bod yn dda ar ryw achosion, ac yn niweidiol mewn cyflyrau ereill. Lle y byddo y dymher yn oer ac yn llysnafeddog, mae yn fuddiol, ac yn gryfhaol odiaeth, ac yn rhyddhau y poeryn, yn symud rhwystrau yn y coluddion, yn agor ffordd y dwfr, yn lladd llyngyr, ac yn gymwynasol yn y dropsi. Arferir hi yn drwyth-olchiad neu yn cnaint rhag llygredd, ac i chwalu chwydd caled. Ei hysigo a'i gosod wrth wadnau y traed, mewn clefydon llym ac isel, a bâr fywiogi rhediad y gwaed, ac a wella y pen. Ei chymeryd yn gyflaeth (*syrup*) sydd yn dda iawn rhag y peswch, byrdra gwynt, y crygni, ac amryw gwynion y cylla a'r froneg.

GWRLING.—*Gale.*

TYF mewn corsydd a rhosydd mynyddig, a blodeua yn Ebrill. Trigolion gogledd Prydain a arferant hwn i chwerwi eu cwrw yn lle hops, ond y mae yn gofyn ei hir ferwi, neu y mae y ddiod yn chwannog i godi dolur yn y pen. Trwyth, a llwch o hono, sydd yn dda i

ladd llyngyr; gosod caughenau o hono o amgylch y gwely, a yr ymaith y chwain.

Y GODOG, edr. CORN CARW'R MOR.

GWYDD-AERON.—*Gooseberries.*

MAENT agos yn mhob gardd. Mae yr aeron o dymher oer, ac yn bol-rwymo, yn dda i beri awydd i fwyd, ac i dòri syched; y maent yn rhagorol i symud ffieidd-dra sydd berthynol i ferched beichiogion.

Y GREULYS, edr. Y BENFELEN.

GRAMANDER, edr. TORMAEN.

GRUG.—*Heath.*

MAE yn tyfu ar rosydd, a blodeua yn Gorphenhaf ac Awst. Dwfr wedi ei ddyhidlo o'r blodau sydd yn dda iawn yn fflam-chwydd y llygaid, a rhag pylorod, neu ryw doriad allan yn y enawd.

GWYDDFID, GWYDDWYDD.—*Honeysuckle.*

MAENT yn ein gerddi a'n cloddiau, a blodeuant yn Mai, Mehefin, a Gorphenhaf. Berwaid cryf o'r dail sydd yn dda yn rhwystrau yr afu, ac a bâr ryddid i'r dwfr. Mae yn hynod i'w arfer megys dwfr genau, pan fyddo pydredd neu ryw ddolur yno. Mae distiliad o honynt yn rhagorol i dynu ymaith frychau, ac i deghau y croen.

### GRAS DUW, neu ISOP Y CLAWDD.—*Hedge Hyssop.*

MAENT yn gyffredin yn Ffraingc, ac yn ein gerddi ni yn Mrydain. Maent yn naturiol i dyfu yn agos i hen byllau, a'r blodau yn eu perffeithrwydd tua diwedd Mehefin. Mae y planhigyn o'r un natur, ac yn debyg yn ei ddull, i ddail bysedd cochion. Ei gymeryd yn gymedrol, gweithia i lawr ac i fyny, ac felly a ddyhyspydda y corph o lawer o rawnau dyfrllyd niweidiol. Mae y sug yn erwin, ond yn ddihareb fel phisygwriaeth yn y dropsi. Berwaid cryf o honynt a iacha y cryd melyn yn fuan; wedi eu sychu a'u powdro, hwy a roddir yn fynych rhag gwayw oddiwrth y gymalwst, ac a ddistrywiant lyngyr yn y cylla a'r perfedd.

### Y GLYMOG, edr. CANCLWM.

### GWYLAETH YR YD.—*Letiuce.*

TYFANT yn gyffredin mewn maesydd ŷd a ffraeth-diroedd ereill. Blodeuant yn Mai. Y dail ieuaingc a fwyteir yn y gwanwyn megys bwydlys, ac iach iawn ydynt; maent o natur wlyb ac oer, ac yn dueddol i ryddni.

### GWALLT Y FORWYN.—*Maiden Hair.*

MAENT yn tyfu yn wyllt ar greigiau mewn rhai manau, ac yn eu perffeithrwydd ddiwedd haf. Berwaid neu isgell o'r dail irion yn drwythbair sydd yn rhyddhau y dwfr, ac a

symud ymaith rwystrau y cylla a'r ymysgaroedd ereill. Cyflaeth o honynt sydd yn rhagorol rhag pesychu, a chrygni, a chlwyfau ereill y froneg. Y mae tri neu bedwar math o honynt, ond yr hwn a enwyd yw y goreu.

GOLD MAIR, RHUDDROS.—*Marigold.*

MAENT yn mhob gardd, ac yn eu blodau drwy yr haf. Trwyth o'r blodau yn irion sydd yn dda mewn clefydon i beri chwysu, ac i fwrw allan ar y croen y peth a ddylai dòri allan. Dwfr wedi ei ddistilio o'r blodau sydd yn dda rhag poeth ysfa ddolurus yn y llygaid. Berwaid o'r blodau mewn llefrith sydd yn dda i fwrw allan rywbeth fyddo dan y croen. Sug y dail, a chymeryd o hono dair neu bedair owns yn y dydd, a ryddha y bol, ac a rwyddha ddirgeloedd ereill yn y corph; ei suguo i'r ffroenau a bâr disian, ac a dỳn lysnafedd o'r pen.

Y GODRWYTH, edr. PYS Y CEIRW.

Y GEDOR-WRACH.—*Night-shade.*

MAE y planhigyn hwn yn aml yn mysg hen furddynau, ac ar domenau, ac yn blodeuo o Fehefin hyd Galangauaf. Arferir ef gyda ffyniant mewn phisygwriaeth; ond nid dienbyd yw; gan hyny gwell nad ymyrer âg ef.

Y GEDOR-WRACH WENWYNLLYD.—*Deadly Night-shade.*

MAENT yn gyffredin mewn hen furddynau,

a blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Phisygwyr cywrain a'u harferant, ond gwell i'r anghyfarwydd eu gadael yn llonydd, am eu bod yn wenwyn marwol.

### GWENITH Y GOG.—*Pilewort.*

MAENT yn gyffredin mewn gweirgloddiau a phawrdir, a blodeuant yn Ebrill. Mae y gwreiddyn yn oer dymheraidd, ac wedi ei ysigo y mae yn blastr rhagorol ar glwyf y marchogion, a berwaid o hono mewn gwin coch sydd yn dda rhag gwaedu o honynt ormod. Plastr o'r gwraidd a'r dail a dymhera ac a ostwng glwyf y brenin, neu ryw grach-glwyf arall. Yfed trwyth cryf o honynt sydd yn dda rhag y clwyf melyn.

### GWLYDD MAIR.—*Pimpernell.*

MAENT yn gyffredin mewn ŷdtir a thir amaethol arall, a blodeuant o Fai hyd Awst. Maent o natur i beri chwys. Trwyth cryf o honynt sydd yn dda mewn clefydon oerion yn gofyn chwysu yn dyner. Arferir hwy yn y gris cyntaf yn y darfodedigaeth, a lluddiant y clwyf hwnw rhag gwreiddio. Wedi eu sychu a'u powdro, maent yn dda rhag y pla-glefyd; eu berwi mewn gwin, ac yfed y gwlych yn y gwely, a bâr chwysu, ac a gynal iechyd yn amser clefydon heintus a gwenwynig. Maent yn llesol yn y dropsi, a rhwystrau ereill yn yr ymysgaroedd; ac amryw gwynion ereill.

Y GALDRIST, edr. EIRIN Y CI.
Y GODOG.—*Samphire.*

TYF ar fôrlanau, a blodeua yn Awst. Arferir y dail wedi eu sur-gyffeithio gyda chig-fwyd; eu sug a weithia yn gryf yn rhyddhad y dwfr, ac y mae yn llesol yn y graianwst, rhwystrau y mis-lif, a'r cryd melyn.

GWYDDLWYN, GWLYDD MAIR.—*Burnet, Pimpernell.*

MAE y planhigyn hwn yn tyfu mewn coedydd a chloddiau, a blodeua yn Awst a Medi. Mae y gwraidd mor boeth a phupur, ei gnoi a dyr y ddannodd, ac a ddwg i lawr o'r pen ddwfr a llysnafedd. Dwfr wedi ei ferwi ynddo a ddiddyma frychni o'r croen. Arferir ef hefyd hefyd rhag byrdra gwynt a'r dropsi. Mae yr hâd yn dda iawn i chwalu gwynt, ac i esmwythau y bolwst. Y gwraidd sydd yn rhagorol i ryddhau rhwystrau yr ymysgaroedd. Y gwraidd a gymerir yn drwyth cryf, a'r hâd wedi eu powdro: pwys chwech neu saith gronyn sydd yn ddigon o'r diweddaf.

Y GLAFRLLYS.—*Scabious.*

MAENT yn tyfu mewn porfeydd ac ŷdtir sychion: blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Maent yn llesol rhag clwyfau y froneg, megys pesychu, caethni, a byrdra gwynt: i'r perwyl hwn, trwyth o'r dail a gymerir. Mae y blodau yn chwysgar, ac yn dda mewn cwyn

ion elefydus. Mae y sug yn burion i lanhau croen o frychni ac anmhuredd.

GOGAFAU, edr. RHEDYN Y FAGWYR.

Y GLASLYS, Y GLAEARLLYS.—*Woad.*

MAE y planhigyn hwn yn tyfu yn wyllt mewn rhai manau, ac yn phisygwriaethol, ond nid aml yr arferir ef. Planhigyn gwerthfawr i'r lliwydd yw: i'r perwyl hwn meithrinir ef mewn amryw fanau.

HOSANAU Y GOG, edr. CAILL YR YNFYD, a CENIN Y BRAIN.

HELYG MAIR, edr. GWRLING.

HOCYS BENDIGAID, HOCYS Y GERDDI.—*Holyhock.*

PLANHIGYN perthynol i Yspaen, ond yn tyfu yn ein gerddi ni; blodeua yn Gorphenhaf ac Awst. Berwaid o'r dail sydd yn dda iawn yn y tostedd, a chlwyfau ereill y dwfr, megys poethder y golch, &c.

HUDDUGL Y MEIRCH, HUDDUGL MAWRTH.—*Horse Radish.*

MAENT braidd yn mhob gardd, ac weithiau yn wyllt mewn lleoedd gwylltion; a blodeuant yn Mehefin. Nid oes nemawr beth gwell na'u gwraidd rhag y parlys a'r dropsi. Maent yn dda iawn hefyd rhag poenau y gymalwst, a phoenau a darddant o rwystrau yr ymysgaroedd; y maent yn rhyddhau pibellau y dwfr,

ac yn dwyn ymaith gerig o'r bledren. Nid oes ond ychydig o bethau a gryfha y cylla yn well na hwy. Nid rhaid eu harfer ond fel yr arferir hwy ar y bwrdd gyda bwyd.

### HELYG-LYS.—*Loose-strife.*

MAENT yn tyfu ar lanau afonydd, ac mewn morfeydd cysgodol, a blodeuant yn Mehefin. Maent o bêr natur, ac o duedd rwym. Nid oes nemawr beth gwell na'r dail ieuaingc i'w gosod ar friw newydd, dyhyspyddant y gwaed, a hollawl iachant yr archoll yn fuan. Y gwraidd wedi eu sychu a'u powdro sydd yn dda yn y mis-lif gwyn, a phob math o waedlif.

### HOCYS.—*Common Mallows.*

Y MAENT o natur ocr, ac yn naturiol ryddhau yr ymysgaroedd, lle byddont o dymher rwym. Dwfr wedi ei ferwi arnynt a ryddha ffyrdd y golch, ac a nerthol esmwytha y tostedd. Yr arfer mwyaf o honynt yn bresenol yw fel plastrau; ac hefyd fel twym-drwyth i dymheru y bol-rwym.

### HOCYS Y MORFA.—*Marsh Mallows.*

MAENT yn tyfu yn wylltion ar fin afonydd, ac mewn morfeydd heilltion; a blodeuant yn Awst. Maent oll, yn enwedig y gwraidd, yn llawn llysedd tyner; y gwraidd a ferwir yn blastr tyner. Gwlychaid o honynt a arferir lle byddo eisiau llysnafeddu y corph. Maent yn dda i bylu cos-besychu, a chrygni, ac ysfa

yn y cylla a'r ymysgaroedd, a diffyg a phoethni yn y dwfr, ac i ryddhau a thyneru y pibau; ac yn y gareg a'r graianwst.

HWP YR YCHAIN, edr. TAG YR ARADR.

HAD Y GRAMANDI, edr. TORMAEN.

HELYG GWYN.—*White Willow.*

MAE prawf eglur fod rhisgl y rhai hyn mor effeithiol i iachau y cryd a Rhisgl yr India, trwy ei wneyd yn bowdr mân, a'i gymeryd yr un modd a hwnw. Y phisygwyr a wyddant hyn yn dda, ac nid wyf yn ameu nad ydynt yn ei arfer dan enw y llall, ond eu bod yn cadw hyny yn ddirgel rhag i'r werin wybod ei rinweddau.

ISOP Y CLAWDD.—*Hyssop.*

PERTHYNA i'r Eidal a gwledydd brydion ereill yn Ewrop, ond fe dyf yn ein gerddi yn Mrydain, a blodeua yn Awst. Mae o rinweddau mawr, yn enwedig yn nghlwyfau y froneg a'r cylla; trwyth cryf o hono, megys tê, sydd yn dda rhag pesychu a chrygni, a rhwystrau yn y froneg; ei gymysgu â mêl a chwanega ei rinwedd. Ei gymeryd fel hyn yn helaeth, sydd yn ddaionus iawn yn rhwystrau y perfedd, ac weithiau yn hynod yn rhwyddhad y dwfr.

LAFANT.—*Lavender.*

MAE yn tyfu yn ein gerddi, a blodeua ganol haf. Mae ei flodau o arogl peraidd, ac yn

hynod o dda rhag pendrondod, parlys, crynfa oddiwrth ddychryn, a chlwyfau ereill oddiwrth y manwynau. Cyffeithiad o'r blaenion ieuaingc a feddianna holl rinwedd y llysieuyn, ac y mae yn rhagorol yn amryw glefydon y mân ewynau (*nerves*) a'r parlys. Mae yn dda i beri dwfr ac i anog y mis-lif.

LILI GWYN.—*White Lily.*

TYFANT yn ein gerddi, a blodeuant ganol haf. Y gwreiddyn, wedi ei ysigo a'i osod yn blastr ar hen chwydd caled, a'i haeddfeda ac a'i tynera yn well na dim arall. Ei wneuthur yn enaint, mae yn hynod i ddyhuddo llosg tân neu ddwfr, ac yn dda i wisgo ymaith gyrn oddi ar draed. Rhoi y blodau yn wlych mewn *oil of olives* sydd yn llesol i ddyhuddo poen mewn aciod, ac i ireiddio gewyn a fyddo yn tynu i mewn ac yn ewtogi.

LILI Y DYFFRYN.—*Lily of the Valley.*

MAENT yn wyllt mewn coedydd a lleoedd cysgodol ereill, ac mewn gerddi. Gwlych o'r blodau sydd yn feddyginiaeth ragorol rhag dolur dwys yn y pen, a fyddo yn deilliaw oddiwrth wendid y manwynau, a chrynfa yr aelodau. Eu gwneuthur yn bowdr, a'i sawyro i'r ffroenau, sydd yn dda rhag amryw glwyfau yn y pen.

LLYSIAU Y GERWYN, *gdr.* FEIRIOG LAS.

LLYSIAU YR YSGYFAINT, LLYSIAU'R ANGEL.—*Angelica.*

MEITHRINIR hwy mewn gerddi, a blodeuant ddiwedd haf. Maent oll yn llawn rhinwedd, ond y gwraidd a'r hâd yn benaf. Maent yn sirioli y galon, yn peri chwys, ac yn cryfhau y cylla, ac o nerth mawr mewn heintus glefydon.

LLYSIAU'R DOM, edr. Y DINBOETH.

Y LLAWRYF.—*Bay Tree.*

TYFANT yn aml yn y manau deheuol o Ewrop, ac yn y gerddi yma. Dwfr wedi ei ferwi arnynt sydd yn llesol iawn i nerthu y cylla, i wasgaru gwynt, ac i iachau y colic, neu y bolwst; ac yn dda rhag pob gwendid gewynau. Yr eirin ydynt boethach na'r dail, ac yn ddihareb i deneuo gwydnion lysnafedd yn y gwddf; yn llesol i anog y mis-lif, ac yn dda rhag y cryd a'r parlys. Mae *oil* neu olew o hono yn y siopau, ac yn dda ragorol rhag gwayw yn yr aelodau, a'r cwlwm gwythi, a rhag poenau yn y glust.

LLYSIAU CYWAIR, edr. BRIGAU'R TWYNAU.

LLYSIAU'R NEIDR.—*Bistort.*

MAENT yn aml iawn mewn gweirgloddiau gwlybion, a blodeuant yn Mai a Mehefin. Y mae blas y planhigyn yma yn arw-lym drwyddo, yn enwedig y gwreiddyn, ac o naturiaeth rwym iawn; ac felly, lle bydd y corph yn rhy

rydd, neu y dwfr yn dylifo gormod, neu y mis-lif yn rhy helaeth, briwiau gwaedlyd, poeri gwaed, y gwaedlif, neu ryw ddylifiant ar bobl, gellir ei arfer er mawr les. Mae yn llesol ragoroi pan fyddo gorchfantau y dannedd yn feddalion, neu y dannedd yn rhyddion, a dolur yn y genau. Gwedi ei falu yn llwch, neu ei ferwi mewn gwin, a'i gymeryd yn lled helaeth, attalia erthyliad; ac a gryfha rwyg-iad llen-gig, ac a ladd lyngyr mewn plant.

LLYSIAU'R GALON.—*Bitter-wort.*

EU gwlad gynhwynol yw Yspaen a'r Eidal; ond tyfant gyda ni, a blodeuant ganol haf. Nid llawer o arfer sydd arnynt, oddigerth i wragedd newydd esgor, er rhwyddhau ac ar-loesi y dyhyspyddiad,—o gylch ugain gronyn, mi feddyliwn, yn bowdr neu yn belen. Dy-wedir eu bod yn dda y droedwst, neu y *gout;* ond i ddyn o dymher isel y maent yn lladd yr awydd i fwyd, gan hyny yn fwy niweidiol na llesol.

LLYCHLYN Y DWFR, LLYSIAU TALIESIN.—*Brooklime.*

MAENT yn tyfu yn helaeth mewn ffosydd beision: blodeuant yn Mehefin. Y sug, a'i gymeryd yn y gwanwyn, sydd yn dda iawn rhag yr ysgyrfi, ac i felysu y gwaed a'r sugn-edd. Gellir eu cymeryd eu hunain, neu wedi eu cymysgu â sug berw'r dwfr, gan eu bod o'r un natur a berw'r dwfr. Trwyther mewn

dwfr berwedig i anog piso, ac am hyny y maent yn llesol yn y clwyf melyn a'r dropsi. Plastr o honynt wrth friwiau ffyrnig a'u tymhera ac a'u hiacha yn fuan.

LLYRIAID Y MOR, LLYSIAU EFA.—*Buck Horn.*

MAENT yn gyffredin mewn grug-rosydd sych-raianllyd, a phorfeydd llymion; ac yn blodeuo yn Mehefin. Maent yn friwlys rhagorol; eu hysigo, a'u gosod ar archoll, a attal y gwaed yn fuan. Arferid hwy gynt rhag brath ci cynddeiriog, ond canfuwyd wed'yn nad ellid hyderu arnynt.

LLYSIAU'R HIDL.—*Burdock.*

MAENT yn tyfu yn gyffredin ar fin ffyrdd a glanau afonydd, a hen furddynau; a blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Trwyth cryf o'r gwraidd a bâr wneuthur dwfr yn helaeth, ac a bâr iachad o'r clwyf melyn a'r dropsi. Berwaid o'r gwraidd sydd yn effeithiol i felysu y gwaed. Mae yn dda yn y graianwst a'r gareg, a byrdra gwynt, a'r darfodedigaeth. Mae yn dda hefyd rhag y frech Ffrengig.

LLYSIAU'R CRYMAN, edr. GWYDDLWYN.

LLYSIAU'R PARLYS, edr. Y DEWBANOG FECHAN.

LLYM Y LLYGAID, edr. Y DDILWYDD FELEN.

## LLYSIAU LLWYD Y FFORDD, LLWYD BONHEDDIG.—*Cud-weed, Chaff-weed.*

MAENT yn gyffredin ar fin ffyrdd, ac mewn porfeydd llymion, a blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Y maent yn dda i anifeiliaid a'r gwaedlif arnynt, ac i ddynion dan y clwyf hwnw. Wedi eu hysigo, y maent yn rhagorol i attal gwaed mewn archoll. Eu cymeryd yn llwch, neu ferwaid o honynt, a attal arloesi yn rhy helaeth. Y maent hefyd yn dda hynod rhag y mis-lif gwyn, a gwendid arall yn perthyn i fenywod.

## LLYGAID Y DYDD.—*Daisy.*

MAENT yn mhob maes. Mae y dail yn lled surion, a'r gwraidd yn llymdost, ac am hyny yn rhwym hynod; eu berwi rhag ysgyfi sydd yn dda, ond eu hir arfer.

## LLYGAID Y DYDD MAWR.—*Ox Eye, Moon Flower.*

Y MAENT yn aml mewn porfeydd sychion, a blodeuant yn Mehefin. Trwyth cryf o'r blodau sydd yn dda rhag yr anwyd, pesychu, byrdra gwynt, a chlwyfau ereill yn y froncg a'r ysgyfaint.

## LLYRIAID Y MÔR, LLYSIAU EFA.—*Dog-tooth.*

PLANHIGYN tramor yw hwn, ond y mae yn ein gerddi ni. Blodeua yn gynar yn y gwan-

wyn. Sug y ddeilen iraidd sydd yn lladd llyngyr mewn plant; rhoi ychydig o hono ar unwaith yn y cyntaf, a chwanegu y swm hyd oni weithio. Mae y sug gwasgedig yn rhy gryf i blant ieuaingc; gan hyny gwell fyddai trwytho y dail mewn rhyw wlych peraidd cyfaddas, a chwanegu o hono; mae yn ddienbyd i'w gymeryd.

LLYSIAU'R BARA, edr. BULWG RHUFAIN, LLYSIAU'R FAM.

LLYSIAU'R FFIGYS, LLYGAID EBRILL.—*Fig-wort.*

MAENT yn gyffredin mewn coedydd, a lleoedd cysgodol ereill, a blodeuant yn Gorphenhaf. Maent o flas chwerw, ac arogl tra drewllyd. Berwaid cryf o'r dail sydd yn dda iawn i olchi crwyn moch a fyddo yn clafrio. Mae y dail a'r gwraidd yn rhagorol at fflamchwydd, clwyf y marchogion, a'r manwynau, a hen anafodau. Sug y gwreiddyn sydd yn dda i felysu y gwaed; cymeryd y rhai hyn, neu ferwaid cryf o honynt, am swrn o amser, sydd yn feddyginiaeth dda i'r manwynau a'r ysgyrfi; ac wrth olchi y croen â hwy yr iachcir yr ymgrafu, a tharddiadau ereill.

LLIN Y TYLWYTH TEG.—*Purging Flax.*

MAENT yn tyfu mewn sychdir a phorfeydd uchel, a blodeuant o Fai hyd ddiwedd Gorphenhaf. Trwyth o'r dail wedi eu sychu sydd

yn hynod am ryddhau y corph: o gylch haner owns sydd yn ddigon o honynt i'w trwytho ar unwaith i'r perwyl hwnw. Maent yn dda hefyd i beri dwfr, ac yn llesol iawn rhag y gymalwst, a'r dropsi, a gweithiant ar amserau i fyny ac i lawr.

LLWYN Y TEWLAETH, edr. BYSEDD COCHION.

LLYSIAU'R CRWYN.—*Gentine.*

MAENT yn perthyn i'r Alban, a lleoedd gogleddol ereill; ond y maent yn helaeth yn ein gerddi ni; a blodeuant yn Gorphenhaf. Owns o'r gwraidd sych, yr un faint o groen lemon sych, a chwarter owns o hâd Cardamon (grawn Paradwys,) a'u trwytho mewn peint o frandi, sydd yn phisygwriaeth hynod i'r cylla clwyfus, er ei gryfhau yn rhagorol, ac nid llai yw eu heffaith i godi chwant bwyd, ac i gryfhau yr archwaeth. Maent yn llesol mewn diwedd clefyd llygredig a gwenwynig, a rhag clwyfau yn tarddu oddiwrth rwystrau yr ymysgaroedd, llyngyr, a'r crydau.

LLYSIAU YR ARCHOLL.—*Wound-wort, Golden Rod.*

Y MAENT yn gyffredin mewn coedydd a chloddiau, a blodeuant yn Awst. Y gwreiddyn, wedi ei sychu a'i falu yn llwch, sydd yn feddyginiaeth addas mewn cyfog trwm, neu ryddni gormodol, pan fyddo y gwaed yn d'od i lawr,

Trwyth o hono sydd yn dda i'w gymeryd ar ol rhyw adwyth oddi mewn, megys ysigdod, poeri gwaed, &c.

LLYSIAU'R GALON, edr. ESGORLYS.

LLEWYG YR IAR, edr. BELE.

LLYSIAU'R LLWYNOG, edr. Y DROEDRUDD.

LLYSIAU UN GRONYN, LLYSIAU PARIS.—*Herb True Love, One-berry.*

MAENT i'w cael mewn coedydd a chysgodion ereill: blodeuant yn Mai a Gorphenhaf. Y gwreiddyn, wedi ei sychu a'i wneyd yn llwch, a bâr gyfog, llawn cystal a'r powdwr sydd yn y siopau, a elwir *Ipecacuanha*, ond cymeryd o hono gymaint arall ag o hwnw. Sug yr aeron sydd yn dda rhag gwres yn y llygaid. Y maent hwy a'r dail o'r un natur a'r opiwm.

LLWYD Y CWN.—*Hoarhound.*

MAENT i'w cael yn aml ar sych-rosydd, ac mewn hen furddynod, a blodeuant yn Gorphenhaf. Yr oeddynt yn yr hen amseroedd yn cael eu harfer rhag rhwystrau yn yr ymysgaroedd; trwy eu cymeryd yn helaeth, hwy a ryddhant y bol yn dymherus. Arferid hwy gynt rhag gwenwyn oddiwrth ddail. Maent yn odidog yn y poerlif, neu *salivation*; iachawyd amryw oddiwrth y clwyf echrydus yma mewn ychydig amser, wrth yfed trwyth o

honynt, megys tê, dros rai dyddiau. Berwaid cryf o'r blaenion ieuaingc, hyd oni fydd yn sew, gyda mêl, sydd yn hynod odidog rhag hen beswch, crygni, ac amryw glwyfau y froneg. Powdr o honynt sydd yn dda rhag y llyngyr, ac y maent yn dda iawn yn rhwystrau y mis-lif. I fyrhau, nid oes nemawr ddeilen well na hon i dymheru corph dyn, ac y mae yn llesol agos yn mhob cwynfan, ac heb fod yn niweidiol i ddim.

### LLYSIAU IFAN.—*St. John's Wort.*

TYFANT mewn sychle, ac adwaenir hwy gan bawb; blodeuant yn Mehefin. Llawer o rinweddau a enwir i'r rhai hyn. Berwaid o'r dail sydd yn dda iawn i olchi hen friwiau a nafodau. Trwyth o'r blaenion ieuaingc sydd yn llesol yn y cryd melyn, ac a bâr wneuthur dwfr yn helaeth. Y sug sydd yn dda rhag poeri gwaed. Wedi ei bowdro y mae yn ddistrywiol i lyngyr. Dywedir eu bod yn iachusol yn y *gout* a'r gymalwst, ac amryw glwyfau ereill perthynol i'r manwynau: ond prin yr wyf yn credu fod cymaint o effaith ynddynt.

### LLYSIAU'R DRYW.—*Liverwort.*

MAENT yn tyfu yn helaeth ar rosydd sychion a bryniau, ac mewn cysgod-leoedd, ac yn eu llawn berffeithrwydd yn Awst. Maent oll yn rhagorol a phenaf cyffuryn rhag brath ci

cynddeiriog. Fe ddywed y phisygwr *Mead*, na welodd mohonynt erioed yn methu, ond ymdrochi mewn dwfr oer wrth eu harfer. Y ffordd i'w harfer yw eu cyd-gymysgu â phupur duon, a chymeryd o hono ddram a haner mewn haner peint o laeth cynes, bedwar bore yn olynol; ond cyn ei gymeryd, erfynir ar y claf waedu naw neu ddeg owns o'i waed; ac ar ol ei gymeryd, disgyn i ddwfr oer bob bore ar ei gythlwng dros fis, ac wedi hyny ddwy waith yn yr wythnos am bythefnos neu yn hwy, nes bydd yr enbydrwydd drosodd.

LLYSIAU'R AFU.—*Liverwort, Noble.*

MAENT yn perthyn i Germany; ond tyfant yn ein gerddi ni, a blodeuant yn Chwefror a Mawrth. Gwlych o'r dail sydd yn dda iawn yn rhwystrau yr afu a'r ymysgaroedd, i ryddhau y dwfr, ac iachant y clwyf melyn, ond eu cymeryd yn nechreu y clwyf. Oddi allan y maent yn dda ar friwiau newyddion a chleisiau.

LLYSIAU'R MILWR, edr. HELYGLYS.

LLYSIAU'R YSGYFAINT.—*Lungwort golden.*

MAENT yn tyfu mewn coedydd a maesydd ŷd, ac yn mysg hen furiau; blodeuant yn Gorphenhaf. Y dail ieuaingc, y rhai a darddant yn union o'r gwraidd, sydd i'w harfer; y maent o'r un natur a dail carn yr ebol, ond y maent yn llawer mwy eu rhinwedd. Berwaid

neu drwyth cryf o honynt a arferir yn gyffredin iawn i glwyfau yr ysgyfaint, megys pesychu, diffyg anadl, a'r graddau cyntaf o'r darfodedigaeth: a hynod y daioni a fu o'u harfer fel hyn o dro bwygilydd.

LLYSIAU MAIR FADLEN, LLYSIAU MEDDYGLYN.—*Maudlin.*

MAENT i'w cael yn ein gerddi: a blodeuant ganol haf. Trwyth cryf o honynt sydd yn dda yn rhwystrau yr afu, ac a bair wneyd dwfr yn helaeth.

LLYGAID YR YCH.—*May-weed.*

MAENT yn tyfu mewn maesydd ŷd, a blodeuant yn Mai. Trwyth o'r dail sydd yn dda yn llewygfeydd y famog. Berwaid o'r dail, neu eu gosod yn blastr ar glwyf y marchogion, sydd yn dda iawn.

LLYSIAU'R FORWYN.—*Meadow Sweet.*

MAENT yn gyffredin mewn gweirgloddiau lleithion, ac ar fin dyfroedd, a blodeuant yn Gorphenhaf. Trwyth o'r blaenion ieuaingc a bâr chwysu, ac y mae ynddynt ychydig o natur rhwymo. Maent yn dda ragorol mewn clwyfau lle byddo rhyddni mawr, gellir yfed o gylch haner peint bob dwy neu dair awr. Mae yn llysieuyn archoll da iawn, pa un bynag a fyddo oddi allan ai oddi mewn.

### LLYSIAU'R CYFOG.—*Spurge Olive.*

### LLAETH YSGYFARNOG.—*Mezereon.*

MAENT yn gyffredin yn y gerddi, a blodeuant yn Ionawr, Chwefror, a Mawrth. Maent o natur lym-sur, ac o flâs ysol; gwraig a roes i'w merch ddeuddeg o'r eirin rhag y cryd tridiau, a hi a gyfogodd i fyny waed, ac a fu farw yn ebrwydd. Maent yn rhinweddol, ond nid yn ddienbyd i'w cymeryd; am hyny ni ddywedaf ddim ymhellach am danynt.

### LLYSIAU Y LLAETH.—*Milk-wort.*

TYFANT mewn corsydd a rhosydd, a blodeuant yn Mehefin a Gorphenhaf. Maent yn dda iawn yn yr eis-glwyf, neu y pigin; o gylch haner dram o'r gwraidd, wedi ei sychu a'i bowdro, a ellir ei gymeryd, neu ferwaid cryf a ellir ei yfed, o gylch peint yn y dydd: efe a weithia felly i lawr ar amserau, bryd arall efe a weithia drwy chwys.

### LLYSIAU'R LLOER.—*Moon-wort.*

MAENT i'w cael mewn porfeydd uchel a sychion yn ngogledd-dir Prydain, ac yn eu perffeithrwydd yn Mai. Y dail, wedi eu sychu a'u gwneyd yn bowdr, sydd yn dda rhag rhyddni a gwaedlif y groth. Eu hysigo, a'u gosod ar archoll newydd, a'i cwbl iacha mewn deuddydd neu dri. Berwaid o honynt mewn gwin coch a rwystra gyfog, a gwaedu oddi mewn,

a'r mis-lif gwyn, ac amryw fathau o waedlif. Maent yn rhagorol hefyd i friwiau, ysigdod, a rhwygiad llen-gig; ond yr arferiad mwyaf a wneir o honynt yw gwneuthur elïon, a thynu olew o honynt: mae yr eli yn dda iawn ar friwiau gwyrddion ffyrnig.

LLYSIAU Y FAM.—*Mother-wort.*

MAENT i'w cael mewn cloddiau, a hen furddynau a thomenau; blodeuant yn Awst. Maent yn phisygwrol iawn yn nghlwyfau y fam, neu y famog; hwylusant y mis-lif, ac y maent yn dda rhag crynfa y galon a fyddo yn tarddu oddiwrth lewygfeydd y fam. Y ffordd oreu i'w harfer yw gwneuthur pereidd-fwyd, neu bêr-deisenau, o'r blaenion ieuaingc, gyda'r un swm o siwgr ag o'r dail. Gellir hefyd eu cymeryd yn drwyth cryf, ond y mae yn annymunol iawn i'w gymeryd. Glanha y froneg o lysnafedd gwydn, a lladd lyngyr; iacha y cramp, neu gylymau gwythi, a phob cryndod yn y gwaed.

LLYSIAU IEUAN, LLYSIAU LLWYDION, edr. Y FEIDIOG LWYD.

LLYSIAU'R GWAEDLIF, edr. Y WILFFRAI.

LLYSIAU'R GWRDA, edr. SAWDL Y CRYDD.

LLYGAD YR YCH.—*Ox Eye.*

ARFERIR eu berwi mewn cwrw, ac yfed y drwyth rhag y cryd melyn, ac y mae yn dda i beri dwfr.

Y LLEW GWYN, edr. EURLLYS.

LLYSIAU Y PARED, PAREDLYS.—*Pellitory of the Wall.*

MAENT yn tyfu ar hen barwydydd a hen furddynau. Blodeuant o Fai hyd Fedi. Trwyth o honynt a weithia yn nerthol yn y dyfrleoedd, ac y mae yn rhagorol yn y graianwst, a'r clwyf melyn. Plastr o'r dail sydd yn dda iawn ar chwyddiadau poethion; a'r sug yn llesol yn y graianwst, y gareg, a'r confylsiwn.

LLYSIAU'R PWDIN, edr. BRYMLLYS.

LLYSIAU'R BRONAU, edr. GWENITH Y GOG.

LLYSIAU'R CRYMAN, edr. GWLYDD MAIR.

LLYSIAU'R LLYNAU, edr. DYFRLLYS.

LLYSIAU'R NEIDR, edr. EIRIN Y CI.

LLYSIAU'R FFORS.—*Rupture-wort.*

MAENT yn gyffredin yn min y môr, blodeuant yn mis Gorphenhaf. Maent o flas hallt, ac o natur led-rwym, eto rhyddhant ffyrdd y dwfr, a'r sug a gymer o'r llygaid frychau a phelenau. Maent yn dda rhag y clwyf melyn, a'r graianwst. Cymeryd y sug a gryfha rwygiad y llen-gig. Y "Ffors" y galwai y Cymry doriad y llen-gig.

LLYSIAU'R CYRPH, edr. BRYTWN.

LLYSIAU LLYWELYN, edr. RHWYDDLWYN.

LLYSIAU'R TENEWYN.—*Star Thistle.*

MAENT yn tyfu ar rosydd gwaelion, ond nid yn aml, a blodeuant yn Awst. Trwyth cryf o'r gwraidd a egyr rhwystrau yr ymysgaroedd, ac a bâr ddwfr, ac y mae yn rhagorol rhag y graianwst a'r cryd melyn.

LLYSIAU'R LLAU, LLYSIAU'R POER.—*Lousewort, Stowe's Acre.*

MAENT yn perthyn i Italy, ac i'w cael yn siopau meddygon. Maent yn dda rhag amryw glefydon, ond fe'u harferir fynychaf i ladd llau yn mhenau plant; ci bowdro a'i daenu yn y gwallt, a effeithia yn ddisiomedigaeth.

LLYSIAU'R WENOL, edr. Y DDILWYDD FELEN.

LLYSIAU'R CRIBAU, LLYSIAU'R PANWR.—*Teasle.*

MEITHRINIR hwynt mewn amryw fanau i'r brethynwyr a'r lliwyddion, arferant y penau i gribo brethynau. Blodeuant yn Mehefin. Trwyth cryf o'r gwraidd a gryfha y cylla, ac a grea chwant i fwyd. Maent yn dda hefyd yn rhwystrau yr afu, a'r clwyf melyn.

LLYSIAU CADWGAN, edr. Y FALERIAN.

LLYSIAU'R DRINDOD, edr. Y FIOLED.

### LLYSIAU'R EWINOR.—*Whitlow Grass.*

MAENT yn tyfu ar nenau hen dai, a hen furiau, a blodeuant yn Ebrill. Trwyth cryf o honynt yn iraidd sydd yn addas iawn i bereiddio y gwaed, a'r sugnafedd, ac yn llesol iawn rhag yr ysgyrfi, a chlwy'r brenin, ond ei hir arfer. Gwneuthur cyffaeth o'r sug, efe a geidw yn barod yn y tŷ drwy y gauaf i'r perwyl uchod.

### LLYSIAU'R CWLWM, edr. GLESYN Y COED.

### LLYSIAU'R FUDDAI, edr. LLYSIAU'R DRYW.

### LLYSIAU'R YSGYFARNOG, edr. Y FABCOLL,

### MARCH-YSGALL.—*Artichoke.*

MEITHRINIR hwynt mewn gerddi, er mwyn cael y penau anaeddfed i'w bwyta; sug y dail, neu ddwfr wedi ei gryf ferwi arnynt, sydd yn dda i beri dwfr yn helaeth, ac yn fuddiol iawn rhag y clwyf melyn a'r dropsi.

### MWYAREN.—*Bramble.*

CANFYDDIR hi yn mhob clawdd. Ei ffrwyth fyddant aeddfed pan dduont. Mae yn blanhigyn oll o natur rwym, ond yr eirin yn benaf, cyn aeddfedu o honynt; gan hyny yn dda i attal pob dylifiad, megys clwyf y gwaed, &c. Dwfr wedi eu trwytho ynddo sydd dda rhag dolur o'r genau, ond eu golchi âg ef; sug yr

eirin yn nghyda siwgr, a wna win peraidd ac iachus. Dwfr wedi berwi y blodau ynddo, a anog wneuthur dwfr, ac y mae yn llesol yn y gareg a'r graianwst.

MINTYS Y GATH.—*Calamint.*

MAENT yn tyfu ar fin ffyrdd a chacau ŷd, ac yn blodeuo yn Awst. Trwyth cryf o'r dail sychion sydd yn dda rhag gwendid y cylla, ac a symud boenau a rhwystrau yn yr ymysgaroedd. Maent yn dda hefyd yn rhwystrau y famog, a'r mis-lif. Pobiad o'r blaenion ieuaingc sydd yn dda iawn rhag yr hunllef. Y maent yn gyffur da hynod i fenywod rhag amryw wendidau perthynol iddynt.

MORON.—*Carrots.*

Y MORON gwylltion yw y rhai hynotaf mewn phisygwriaeth: maent yn tyfu mewn tiroedd sychion, a blodeuant o Fehefin hyd ddiwedd Awst. Mae yr hâd yn dda iawn i chwalu gwynt o'r cylla, ac yn llesol rhag y gareg a'r graianwst. Maent yn dda i beri gwneyd dwfr, ac yn dda ragorol rhag rhwystrau yn y coluddion, ac yn y clwyf melyn, ac yn nechreuad y dropsi. Plastr o'r gwraidd a leiha boen budrlinorod pydredig, ac a dŷn ymaith y drygsawr.

MEILLION PUM' DALEN.—*Cinquefoil.*

MAENT yn gyffredin mewn gweirgloddiau, pawrdir, a chloddiau, a blodeuant o Fai hyd ddiwedd Medi. Mae rhisgl y gwreiddyn yn

rhwymo yn dyner, ac yn nerthol rhag llygredigaeth. Berwaid cryf o honynt sydd yn ddwfr rhagorol i olchi genau dolurus a gorchfantau llygredig. Cymeryd tuag ugain pwys gronyn o honynt yn bowdr, a rwyma gorph rhydd, ac y maent yn dda yn mhob gwaedlif; cymeryd mwy swm o honynt a attal y cryd. Trwyth o'r dail, megys tê, sydd yn dda i oeri clefydon poethion. Berwi y gwraidd mewn gwinegr a chwâl chwydd, ond eu gosod yn blastr arno, ac a gliria hen ddoluriau crawnllyd.

MARCH ALAN.—*Elecampane.*

TYFANT mewn gweirgloddiau lleithion, ond nid yn bur gyffredin, a blodeuant yn Awst. Mae y gwreiddyn yn dda i'r froneg, a'r ysgyfaint. Berwaid o hono a iacha ddefaid o'r clafr. Mae y gwreiddyn yn dda yn nghlwyfau y froneg, megys cos-besychu, crygni, dylifiant yr ysgyfaint, &c. Hefyd, symuda ymaith rwystrau, ac a bâr chwysu a gwneyd dwfr. Y sug, a'i arfer oddi allan, a iacha yr ymgrafu, a tharddiadau ereill yn y cnawd.

MWG Y DDAEAR.—*Fumitory.*

Y MAENT yn gyffredin mewn caeau ŷd, a ffracthdiroedd ereill, a blodeuant o Fai hyd Awst. Mae y dail yn blasio yn chwerw-hallt. Cymeryd dwy neu dair owns o'r sug sydd yn ddaionus yn y ddueg, neu y clwyf gwallgof, ac yn dda rhag y crach-glwyf. Tymhera ac

iacha rwystrau yn yr ymysgaroedd, ac y mae yn hynod i buro y gwaed. Trwyth o'r dail sydd yn hynod i symud brychau o'r croen.

MEILLION CEDENOG.—*Hare's foot.*

MAENT yn tyfu yn gyffredin mewn porfeydd uchel; a blodeuant yn Gorphenhaf. Maent oll yn bol-rwymo. Wedi eu gwneyd yn llwch, y maent yn dda iawn yn nghlwyfau y gwaed a phoenau yn y coluddion. Maent yn rhagorol i attal gormod mis-lifiant, a rhag y mislif gwyn. Berwaid cryf o honynt a arferir yn yr achos hwn.

MYNAWYD Y BUGAIL, edr. Y DROEDRUDD.

MOR-DDANADL GWYN, edr. LLWYD Y CWN.

MOR-DDANADL DU.—*Black Hoarhound.*

MAENT yn min ffyrdd ac mewn hen furddynau; ac yn rhagorol phisygwriaeth yn llewygfeydd y famog. Y Swediaid a'u cyfrifant yn iachad hollol yn nghlwyfau anifeiliaid. Trwyth o'r dail irion, a'i yfed megys tê (blaenion y dail,) ydyw un o'r meddyginiaethau goreu yn y pruddglwyf a llewygfeydd y famog. Mae hwn yn dda i drefnu y mis-lif, ysprydoedd isel, a phob gwendidau a darddant o'r manwynau.

MERYWEN, MERYWYDDEN.—*Juniper.*

PRYSGWYDDEN ydyw a dyf ar rosydd a choedydd, a blodeua yn y gwanwyn. Y mae

yn dda ragorol rhag y bolwst, y graianwst, a'r gareg. Berwaid o'r dail sydd yn llesol rhag llewygfeydd y famog, hen besychu, bol-chwydd a'r pâs. Amryw gyffuriau phisygol a dynir o honynt, sydd i'w cael gan yr apothecariaid, sef olew, *gum* (glud-gaul,) &c., y rhai sydd yn dda iawn yn nghlwyfau y froneg, y cylla, y bol, &c.

### Mantell Fair.—*Ladies' Mantle.*

Mae digonedd o honynt mewn gweirgloddiau a phorfeydd ymhob man; blodeuant o Fehefin hyd Awst a Medi. Maent oll o natur rwym. Y gwreiddyn yw y rhan lesolaf o honynt. Berwaid eryf o'r gwraidd iraidd sydd yn rhagorol dda i attal mis-lifiant gwyllt, a phob gwaedlif arall; wedi ei sychu, a'i wneyd yn bowdr, efe a ettyb yr un dyben; ac y mae yn iachaol i ryddni o hir barhad. Mewn rhai manau, y gwragedd a arferant y dail wrth eu bronau i'w ffurfio, ar ol bod yn llawn o laeth.

### Madr, edr. Y Wreiddrudd.

### Marjoram.

Math o fintys ydynt, ond nis gwn am enw Cymreig arnynt. Maent yn gyffredin yn ein gerddi, yn bêr eu harogl, ac yn blodeuo yn Gorphenhaf; maent i'w cael yn wyllt yn fynych, a blodeuant yn Gorphenhaf. Maent yn physygwriaeth ragorol yn nghlwyfau y manwynau. Y dail a'r penau wedi eu sychu, a'u rhoi yn bowdr, sydd yn iachaol iawn mewn dwys ddo-

lur o'r pen yn tarddu oddiwrth hyny. Cyffeithiad o'r blaenion sydd yn dda i glwyfau y cylla a'r perfedd, megys bolwynt, ac annhreuliad bwyd. Gwlych o'r llysieuyn sydd yn wasanaethgar yn rhwystrau y coluddion, ac yn y clwyf melyn.

### MINTYS.—*Mint.*

MAENT agos ymhob gardd, a blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Nid oes nemawr ddalen well na hon at wendid y cylla, megys gwynt, cyfog, &c. Dywedir fod plastr o honynt yn dda yn achos ceulo llaeth yn y bronau, i'w gosod arnynt, i'w tymeru, a'u rhwyddhau. Yfed dwfr oddi arnynt, megys tê, sydd yn hynod i wasgaru gwynt, ac i beri archwaeth at fwyd, ac i rwystro cyfog. Plastr o honynt yn irion, a'i osod ar y froneg, a rwystra gyfog. Maent yn dda yn mhoenau y cylla, yr igian, y bolwynt, a phocthni llosgedig, poen y bol, madrondod, neu nofiad y pen. I fyrhau, maent yn un o'r pethau goreu i ddyn eu harfer er cadw a chryfhau iddo ei hun ei iechyd.

### MWSOGL Y COED.—*Hairy Bee Moss.*

MAENT i'w cael mewn coedwigau eang, yn nglŷn yn y coed, ac nid yn un lle arall. Wedi eu sychu mewn pobty, eu curo mewn mortar, a'u hidlo drwy ogr mân, y rhan ddiles o honynt a saif fel eisin yn y gogr, a'r rhan rinweddol a â trwodd yn llwch. Maent yn rha-

gorol yn y mis-glwyf gwyn, y gwaedlif, a phoeri gwaed. Y swm i'w gymeryd yw o gylch *scruple*, neu bwys deugain gronyn.

### Mwstard.—*Mustard.*

Planhigyn adnabyddus i bawb. Cymeryd o'r hâd lonaid llwy gyffredin sydd yn dda er esmwythau yr ymysgaroedd, ac yn wasanaethgar rhag diffyg anadl, y gymalwst, a'r parlys. Plastr o'r blaenion, gyda thameidiau o fara a gwinegr, sydd yn llesol iawn i'w osod wrth wadnau y traed mewn clefydon dwysion; ac y maent yn dda rhag poenau sefydlog yn yr aelodau. Cymeryd o honynt lonaid llwy fawr bob bore sydd yn dda iawn rhag y gymalwst. I fyrhau, y maent yn dra iachus i'w harfer beunydd er cryfhau y cylla, i beri dwfr, i chwalu gwynt, ac i greu chwant bwyd. Bwyta y dail ieuaingc a iacha yr ysgyrfi.

### Moron y Moch.—*Wild Parsnips.*

Maent i'w cael yn nghonglau caeau lle byddo cerig calch a marl-dir. Mae'r gwraidd wedi eu hamaethu yn bereiddiach na moron y gerddi, ac yn faethol hynod. Eu darllaw gyda hops, fel y darllawir cwrw, a gweithio y gwlych gyda burym, a'i yfed, a iacha amryw glefydon y cryd. Berwaid cryf o'r gwraidd a gliria rwystrau yn y coluddion, ac y mae yn dda yn y clwyf melyn, y graianwst, a rhwyddha y mis-lif.

### MARCH-REDYN.—*Polypody.*

MAE digon o honynt ar hen furiau a lleoedd cysgodol, ac wrth wraidd coed agos yn mhob man. Mae y gwreiddyn yn peri rhyddni tyner, naill ai yn ferwaid neu drwythiad; y swm i'r perwyl hyny yw chwe' dram i bob peint o ddwfr; mae yn peri dwfr yn gystal a rhyddhau yr ymysgaroedd. Maent yn dda yn y clwyf melyn a'r dropsi, ac yn dda mewn diod rhag y crach-glwyf neu yr ysgyrfi.

### MAFON.—*Raspberry.*

MAENT yn tyfu yn wyllt mewn amryw fanau, yn aml mewn lleoedd corsiog; blodeuant yn Mai a Mehefin. Mae y ffrwyth yn beraidd o hono ei hun, ond pan wneir ef yn felusfwyd gyda siwgr a gwin, mae yn bereiddiach: mae yn lled sur, ond o natur oeraidd. Sugn y ffrwyth aeddfed, wedi ei ferwi yn gyflaeth, a'i felysu â siwgr, sydd yn hynod o gymeradwy i'r cylla, ac a attal glwyfiant a chyfog.

### MOR-LWYAU.—*Scurvy Grass.*

MAENT yn gyffredin ar lanau y môr, ac yn agos i fân afonydd, a manau ereill, a blodeuant yn Ebrill. Maent o natur sur, a'u heffeithiau yn yr ysgyrfi sydd yn hysbys i bawb. Arferir hwynt hefyd yn y diffyg anadl gwlyb, yr hwn sydd yn tarddu o'r ysgyfaint a'r gymalwst. Mae yn y siopau lawer o gyffuriau addas

i iachau yr ysgyrfi, a doluriau yn tarddu oddiwrtho, a phob un yn cynwys rhinwedd y planhigyn rhagorol hwn.

### MEFUS.—*Strawberries.*

Y MAENT yn gyffredin mewn coedydd a chloddiau, ac yn ffrwytho yn misoedd cyntaf yr haf. Bwyta yr eirin gyda siwgr a llaeth sydd yn llesol iawn i bobl dan y gymalwst a'r gareg, neu i'r rhai â natur darfodedigaeth ynddynt; parant chwys tyner. Trwyth o'r dail sydd yn rhyddhaol, ac yn dda yn y tostedd, ac yn y clwyf melyn. Wedi eu sychu a'u gwneyd yn llwch, y maent yn ddihareb yn llifiant yr ymysgaroedd.

### MEDDYGLYN, edr. Y FIOLED.

### MORON Y MAES.—*Wild Carrots.*

HAD y planhigyn hwn a bâr droethi, ac y maent yn llesol i chwalu gwynt yn y cylla; rhoddir clod mawr iddynt rhag y tostedd a'r graianwst; mwydiad o owns o hono mewn dwfr berwedig sydd yn dra buddiol dan loesau llymion y clefyd hwnw; dylid cymeryd diod helaeth o hono, a hyny yn aml. Ysigo hâd y gedor-wrach a'r tormaen, a'u cymysgu, yr un faint o bob un, ac o'r cymysg hwnw rhoi dau neu dri dram mewn llestr tê, a thywallt peint arnynt o ddwfr berwedig, a gadael iddo sefyll am bum' awr, a'i dywallt, a'i roddi heibio at wasanaeth: eithr gwell yw eu berwi mewn

chwart o ddwfr, a'i gymeryd fesur haner peint ar gythlwng, ac ar bryd gwely, ac weithiau ganol dydd.

NARD YR ARDDWR.—*Ploughman's Spikenard.*

MAENT yn tyfu mewn gweirgloddiau, a manau lleithion ereill, ac mewn cleidir; blodeuant o ddechreu Gorphenhaf hyd ddiwedd Awst. Maent o arogl peraidd, ac yn gadarn i ryddhau ffyrdd y dwfr, ac yn dda iawn yn y graianwst. Y ffordd oreu i'w harfer rhag y ewynion hyn, yw yn drwyth cryf. Berwaid cryf o'r blaenion ieuainge sydd yn dda rhag gwaedu oddi mewn. Y gwreiddyn wedi ei bowdro sydd yn dda rhag rhyddni, ac a iacha yn fynych y gwendidol glwyf hwnw, y mislif gwyn.

ONEN Y DDAEAR.—*Gout-wort, Ground Ash.*

MAE yn gyffredin mewn gerddi a pherllanau, ac yn chwynoglyn trwblus ddigon; blodeua yn Mai. Mae y gwraidd a'r dail yn blastr da yn y glunwst, neu y *gout* yn y glin (*sciatica*,) a phoenau ereill yn yr aelodau, pa un bynag ai yn blastr ai yn dwym-drwyth gyda dwfr poeth oddiwrthynt. Cyfrifir hwynt yn dda yn y droedwst, ond nid arferir mo honynt gymaint i hyny yn awr.

YR OEN GWYLLT, edr. GWYLAETH YR YD.

ORPIN.—*Orpine.*

MAE yn tyfu ar hen furiau a lleoedd tyw-

odlyd; a blodeua yn Gorphenhaf. Mae y gwraidd yn dda iawn i attal rhedfa y gwaed oddi mewn ac oddi allan; pwys ugain gronyn sydd yn ddigon i'w gymeryd o hono yn llwch. Ei ysigo a'i osod yn blastr ar friwiau gwaedlyd sydd yn dra llesol. Berwi y dail mewn llaeth, a chymeryd o hono lonaid cwpan dêdair gwaith neu bedair yn y dydd, sydd yn ddaionus i ryddhau ffyrdd y dwfr, ac i attal gwaedlif.

### YR OLCH-EURAIDD.—*Sanicle.*

MAE yn tyfu mewn coed, a blodeua yn Gorphenhaf. Mae y gwreiddyn o natur rwym, ac yn dda mewn rhyddni a gwaedu oddi mewn. Berwaid cryf sydd yn dda rhag gwaedu o glwyf y marchogion, neu attal gormod rhediad y mis-lif.

### PREN MELYN.—*Barbery.*

MAE yn tyfu yn wyllt mewn cloddiau a bryniau calch, ac yn ei flodau yn Mai a Mehefin, a'i eirin yn aeddfed ddechreu y gauaf. Sugn yr eirin sydd yn dda ragorol mewn clefydon heintus a'r gwaedlif. Yr ydys yn yr Aipht i'r perwyl hwn yn eu gwlychu mewn cymaint ddeuddeg gwaith a'u pwysau, dros bedair awr ar hugain; hidlant, a melysant y dwfr gyda siwgr. Berwi y rhan isaf o'r rhisgl mewn cwrw, a'i yfed, sydd yn dda iawn i ryddhau y corph, a rhag y clwyf melyn a'r cos-besychu.

PYS Y COED, edr. BLONEG Y DDAEAR.

PALADR HIR, edr. CORN Y CARW, neu yn hytrach CORN YR HYDD.

PERSLI Y GORS—*Celery, Smallage.*

TYF mewn iseldir morfaog, a blodeua yn Awst. Mae y gwreiddyn, yn ei gyflwr gwyllt, o flas sur niweidiol; ond wrth ei amaethu mewn gerddi, mae yn colli yr anian hwnw, ac yn newid i dymher dyner a bwytadwy. Mae yn ddihareb i'w fwyta yn anmrwd, neu wedi ei ferwi yn isgell, ac yn rhagorol rhag yr ysgyrfi neu grach-glwyf. Mae y gwraidd yn dda i beri dwfr, ac yn ddaionus yn y graianwst a'r gareg, ac yn rhwystrau y coluddion. Y ffordd i'w arfer yw yfed berwaid cryf o hono. Yr hâd sydd yn dda i chwalu gwynt o'r cylla a'r ymysgaroedd.

PIDYN Y GOG.—*Cuckoo's Point, Wake Robin.*

MAE yn tyfu yn aml ar geulanau, a thiroedd geirwon, mewn llcoedd cysgodol. Y blodau a ymddangosant yn Mai, ac y mae yr eirin yn aeddfed yn nechreu y gauaf. Mae y gwreiddyn yn dra llym-sur. Y Ffrangcod a'i harferant i ymolchi, gan ei fod yn hynod i brydferthu y wynebpryd. Wedi ei falu yn llwch, gellir cymeryd o hono bwys ugain gronyn, er rhyddhad y cylla, ac yn y gymalwst. Wrth ei gnoi yn y genau, y mae yn hysbys iddo adferu ymadrodd i rai yn y par-

lys. Mae yn llesol iawn yn yr ysgyrfi, a'r gymalwst, ac yn hynod i ryddhau ffyrdd y dwfr. Mae yn gofyn fod y gwreiddyn bob amser yn iraidd, onidê ni lesha ddim.

PALF Y GATH.—*Ground Pine.*

MAE yn tyfu yn wyllt mewn sych-diroedd o natur galchiog. Llwch y blaen-benau sydd yn dda iawn yn y *gout*, a'r gymalwst, ac i symud rhwystrau yr ymysgaroedd, i beri dwfr, ac yn wasanaethgar yn y clwyf melyn a'r cryd. Mae mwy o rinwedd nag a chwiliwyd allan eto ynddo.

PIGL, edr. TAFOD Y CI.

PYS Y CEIRW.—*Melilot.*

Y MAENT yn tyfu mewn gweirgloddiau a maesydd ŷd, ac yn eu blodau yn Mehefin a Gorphenhaf. Mae yn llysieuyn archoll tra godidog, ac yn blastr tra rhagorol ar chwydd caled anafodog, efe a'i haeddfeda yn fuan, ac a leiha y boen.

PERSLI.—*Parsley.*

MAENT yn gyffredin yn ein gerddi. Mae yr hâd yn ddaionus i chwalu gwynt o'r cylla, ac yn ymwared rhag y colic. Berwaid cryf o'r dail a ryddha ffyrdd y dwfr, ac a symud rwystrau yn y coluddion, a chlwyfau yn tarddu o hyny. Ei yfed dros cnyd sydd yn dda rhag y cryd melyn a'r dropsi, ac a ddyg raian o'r elwlenau a'r bledren.

## Pelydr Yspaen.—*Pellitory of Spain.*

Maent yn perthyn i'r Yspaen, a manau brydion ereill o Ewrop, ond goddefant dywydd oer y gwledydd yma, a blodeuant yn Ebrill a Mai. Cnoi y gwreiddyn, yr hwn sydd lymboeth, a bâr i lysnafedd ddyferu o'r pen, ac wrth hyny yn fynych a esmwytha y ddannodd, dolur y pen, ac a attal yr hun-glwyf, parlys y tafod, &c. Efe a bâr gynorthwy hynod, trwy gymeryd ychydig o hono ar unwaith, yn nghlwyfau y parlys a'r gymalwst. Dywedir fod trwyth o hono yn dda yn y darfodedigaeth; ac mi wn ddarfod iddo wneyd lles nid bychan i un yn y clwyf hwnw,—pe cawsai ef yn gynt, yr wyf yn tybied y buasai yn ei iachau ef; ond y clwyf a'i dygasai i borth y bedd cyn iddo glywed am hwn.

## Pabi gwyn.—*White Poppy.*

## Pabi coch yr Yd.

Mae y ddau yma yn debyg yn eu rhinweddau i'w gilydd. Berwaid cryf o'r penau, a'i wneyd yn gyflaeth gyda siwgr, a dyr boen oddiwrth glefydon, ac a bâr gysgu. Haner owns i ddyn cryf, a haner hyny a fydd yn llawn ddigon i ddyn dan oed: eithr ni ddylid arfer hwn ond gyda mawr ofal, ac o law gywrain: llawer un wrth ei gymeryd yn afreolaidd a gysgodd heb ddeffro byth. Nid yw y peth sydd yn y siopau, a elwir Opiwm, ddim arall

ond sug hwn. Mae yn ddaionus iawn, ond yn dra enbyd.

PWRS Y BUGAIL.—*Shepherd's Purse.*

NID oes nemawr blanhigyn amlach na hwn, na nemawr un gwell rhag amryw glwyfau. Berwaid o'r dail sychion sydd yn dda iawn i dymheru corph a fyddo o natur rwym yn wastadol. Sug y dail a oera ac a rwyma: dwy lwyaid o hono, gydag un lwyaid o win coch, sydd yn llesol hynod i gymesuro rhediad y mis-lif, poeri gwaed, neu ryw waedlif arall.

RHAWN Y MARCH, edr. CEDOR Y WRACH.

RHEDYN MAIR.—*Male Fern.*

MAENT yn gyffredin mewn coedydd, a boliau cloddiau. Maent yn dda i ladd llyngyr mewn plant, i symud rhwystrau yn y coluddion, ac i iachau y llechau (*rickets.*)

RHEDYN BENYW.—*Female Fern.*

MAENT yn gyffredin mewn coedydd a rhosydd. Y gwreiddyn wedi ei falu yn llwch, a chymeryd o hono haner owns, sydd feddyginiaeth ddyogel rhag yr ysnoden-lyngyr; ac y mae yn ddinystriol i bob math o lyngyr.

RHEDYN Y DERW, edr. MARCH REDYN.

RHUDDUGL.—*Radish.*

TYFIR hwy yn eiu gerddi. Maent yn rhag-

orol o iach i'w bwyta gyda chigfwyd, neu frechden, sef eu gwraidd. Maent yn iachusol i'r graianwst a'r gareg, ac yn hynod i felysu gwaed, ac am hyny yn llesol rhag yr ysgyrfi a phob crach-glwyf.

RUBARB.—*Rhubarb.*

MAE hwn yn un o'r llysiau goreu yn ein gerddi, a blodeua yn Mehefin a Gorphenhaf. Nid oes dim a ryddha y corph yn well nag ef; mae yn rhyddhau ac yn gadael y corph yn lled-rwym, ac yn rhydd oddiwrth bob enbydrwydd. Yn nghlwyfau y gwaed, nid oes dim gwell nag ef; mae yn cryfhau yn gystal a rhyddhau. Y gwreiddyn a arferir yn bowdr, a dylid cymeryd gofal ei fod yn dda, ac heb golli ei nerth. Mae i werth yn y siopau, cryfddwfr yr hwn sydd dda yn y bolwst, a chlwyf y gwaed yn ei ddechreuad; nid oes dim gwell am a wn i.

RHOS COCHION.—*Damask Rose.*

MAE yn ein gerddi. Gwlychu y blodau am bedair awr ar hugain mewn dwfr berwedig, a rhoi ynddo ei bwys ddwy waith o siwgr goreu, sydd yn ddihareb o lesol i ryddhau plant a hen bobl hefyd; cymeryd ychydig o hono bob nos, a geidw y corph yn lled-rydd yn wastadol. Blodau y rhosyn cyffredin, a'i gymeryd yn drwyth, a rwystra ormod dylifiant y mis-lif, a gwaed-lifau ereill. Mae yn dda hefyd at amryw glwyfau perthynol i'r rhai hyn.

### RHOSMARI.—*Rosemary.*

YN y blodau y mae y rhinwedd mwyaf: yn nesaf at hyny, yn y blaenion ieuaingc. Gellir gwneuthur cyflaeth gyda siwgr, neu drwyth cryf o honynt, a'i yfed fel tê. Y maent yn dda rhag dolur o ben, y bendro, crynfa yr aelodau, a phob math o glefyd perthynol i'r manwynau; maent yn dda hefyd yn rhwystrau yr ymysgaroedd, ac yn y parlys.

### RYW.—*Rue.*

MAE yn gyffredin yn ein gerddi, a blodeua yn Awst. Yfed trwyth o'r blaenion ieuaingc megys tê, neu gymeryd cyffeithiad o honynt wedi ei bobi â chymaint deirgwaith o siwgr, sydd yn dda iawn mewn clefydon heintus; y mae yn codi yr ysprydoedd, ac yn peri chwys tyner. Y cyflaeth sydd yn dda rhag dolur o ben, clwyfau y famog, gwendid cylla, a phoen yn yr ymysgaroedd. Mae yn dda hefyd yn rhwystrau y mis-lif. Cymeryd y sug o fesur ychydig, sydd yn iachusol rhag yr hunllef, a da yw ei sugno i'r ffroenau rhag yr heintiau gormesol. Rhoddir ef hefyd i blant rhag y llyngyr.

### RHWYDDLWYN.—*Speedwell.*

MAE yn tyfu yn gyffredin ar fin ffyrdd, a blodeua yn Mai a Mehefin. Berw-ddwfr oddi arnynt sydd yn dda i symud rhwystrau, ac i ryddhau y dwfr, ac yn llesol yn y clwyf melyn

a'r dropsi. Trwyth gwan o hono a anog chwys, ac felly y mae yn dda yn y cryd au. Berwi y sug yn gyflaeth gyda mêl sydd yn dda rhag diffyg anadl, a chlwyfau y cylla; ac oddi allan efe a iacha yr ysfa, neu yr ymgrafu, a chlwyfau crocnaidd ereill. Plastr o'r dail ar friwiau newyddion a'u hiacha, heb ddim arall.

RHEDYN Y FAGWYR.—*Spleen-wort.*

MAENT yn tyfu ar hen furiau, ac ar ochrau creigiau, ac y maent yn wyrdd drwy y flwyddyn. Cymeryd trwyth cryf o honynt dros swrn o amser, a symud rwystrau yr afu, y ddueg, neu y cleddyf bleddyn; ac y maent yn dda yn y clefydau a darddant o hyny.

SURAN Y COG, SURAN Y COED.—*Cuckoo bread, Wood Sorrel.*

MAENT yn tyfu yn helaeth mewn coedydd a lleoedd cysgodol, a blodeuant yn Ebrill. Mae y sug yn dyner sur. Dwfr berwedig wedi eu trwytho ynddo, sydd yn ddiod flasus a pheraidd mewn clefydon dwysion a phoethion. Eu berwi mewn llaeth a wna fath o faidd blasus i'w arfer mewn unrhyw achos.

SURAN HIRION, edr. TAFOL Y DWFR.

SINSIR.—*Ginger.*

ONI b'ai ei ddaioni a'i fawr les ni soniaswn am dano, gan ei fod yn perthyn i'r Ddwyreiniol India; ac am hyny yn gwbl ddyeithr i

gwledydd yma. Mae yn bêr-gynes; mae yn cryfhau y cylla, ac yn chwalu gwynt yn hynod, yn creu chwant i fwyd, yn esmwythau y gnofa, trwy ei drwytho mewn dwfr berwedig tê, a'i gymysgu â brandi a dwfr, a'i yfed ar ol bwyd.

SAWDL Y CRYDD.—*Mercury.*

MAE yn gyffredin ar fin y ffyrdd, ac mewn hen furddynau, ac yn blodeuo yn Mehefin. Mae y blaenion ieuaingc yn peri rhyddni tyner. Mae y gwreiddyn yn dda i ddefaid, a rhag pesychu. Mae y dail yn llesol i'w gosod yn blastr ar friwiau a chornwydydd.

Y SEBONLLYS.—*Soap-wort.*

MAENT yn tyfu mewn gweirgloddiau a chloddiau, a blodeuant yn Gorphenhaf. Maent o flas chwerw. Wedi eu hysigo a'u hysgwyd mewn dwfr, bwriant ewyn fel sebon, a golchant ymaith iraid o ddillad; golchi y croen â berwaid cryf o honynt a iacha yr ymgrafu; arferir hwy gan y Ffrangcod rhag eu clwyf drwg, set y frech ffreinig. Berwaid o'r gwraidd a egyr rwystrau, ac a bâr wneuthur dwfr yn rhwydd, a chwysu yn dyner. Maent yn rhagorol i felysu y gwaed, a'r holl sugnedd corphorol.

SURAN.—*Sorrel.*

MAENT yn gyffredin mewn gweirgloddiau, a blodeuant yn Mehefin. Bwyta y dail megys salad, neu gymeryd eu sug megys phisyg-

wriaeth, sydd yn llesol iawn rhag yr ysgyrfi. Y mae yr hâd yn rhwym, ac yn dda i'w cymeryd rhag rhyddni. Y gwreiddyn wedi ei bowdro sydd o'r un effaith at y clwyf hwnw, a phoeri gwaed, dylifiad y mis-lif, a phob gwaedlif arall.

SAWDL CRIST, edr. DAIL LLYRIAID.

SAFFRWM.—*Saffron.*

MAE yn tyfu yn wyllt weithiau, a blodeua yn Awst. Mae digon o hono yn y siopau, ac fe'i harferir ef mewn amryw achosion phisygwriaethol, ynghlwyfau y froneg nid oes gwell meddyglyn *(cordial)* i'w gael nag ef; mae yn anog chwys, ac yn diddymu rhwystrau yr ymysgaroedd.

SENNA.—*Senna Tree.*

NIS gwn ei enw yn Gymraeg. Mae i'w gael yn wyllt mewn coed, ond nid yn aml. Y gwraidd wedi ei bwyo sydd yn blastr da ragorol neu iachusol i archoll. Wedi ei sychu a'i bowdro, mae i'w gymeryd rhag rhyddni gwaedlyd. Ei bobi tra fyddo yn iraidd, yn gyflaeth drwy siwgr, mae yn gyffur da hynod rhag y mis-lif gwyn.

TAFOD Y NEIDR.—*Adder's Tongue.*

TYF mewn gwaenydd a thiroedd lleithion: mae yn ei berfleithrwydd o Ebrill hyd ganol Mehefin. Ei sug sydd yn llesol i'w gymeryd

rhag anaf oddi mewn, a phoeri gwaed. Berwaid o'r dail wedi eu hysigo mewn bloneg, sydd yn enaint da i oeri briw.

TANSI, edr. Y DINLLWYD.

TAFOD YCH, TAFOD Y FUWCH.—*Borage.*

MAENT yn tyfu yn fynych ar hen furiau, a blodeuant yn Gorphenhaf ac Awst. Maent yn hynod oblegyd eu natur oeraidd. Maent yn dda, gan hyny, i leddfu ennyniad poeth yn y llygaid, tu mewn a thu allan. Eu sug sydd yn dda i'w gymeryd mewn clefydon poethion; a rhag pesychu a chaethder yn yr ysgyfaint. Y blodau, wedi eu darparu a'u pobi i'w cadw, sydd yn dda mewn clefydon llygredig, a'r gwynt-glwyf, neu y ddueg, ac yn llesol rhag y clwyf melyn.

TRWYN Y LLO.—*Calves' snout, Snap-dragon.*

MAENT yn gyffredin mewn porfeydd llymion a chloddiau, a thir ffraeth, a blodeuant o Orphenhaf hyd ddiwedd Medi. Berwaid o'r dail a bâr wneuthur dwfr yn rhwydd a helaeth, ac a gartha y coluddion hefyd; maent yn llesol rhag y clwyf melyn a'r dropsi hefyd; y sug sydd yn dda rhag chwydd-losgfa yn y llygaid, ac a lanha hen friwiau llinorog.

TRIAGL Y CŴN —*Squitchgrass.*

MAENT yn gyffredin yn mhob man. Sug y dail, a'i gymeryd yn helaeth, sydd yn feddyg-

iniaeth dda yn rhwystrau yr ymysgaroedd, yn enwedig yr afu. Berwaid cryf o honynt sydd yn dda i beri dwfr, ac yn llesol yn y graianwst a'r gareg. Ei hir gymeryd a iacha y clwyf melyn.

TAFOL.—*Dock.*

MAENT yn adnabyddus i bawb. Y gwraidd irion wedi eu berwi mewn bloneg, sydd yn enaint rhag yr ymgrafu. Berwaid cryf a wna yr un peth.

TAFOL Y DWFR.—*Water dock.*

BERWAID o'r dail sydd yn dda ragorol i olchi cig y dannedd a fyddo braenllyd, a genau dolurus: ac yn dda i'w gymeryd rhag yr ysgyrfi a'r clafr: mae yn llesol yn y gymalwst, ac mewn hir ddihoeniad gan boen yn yr ymysgaroedd.

TORMAEN.—*Cromwell, Saxifrage.*

MAENT yn tyfu mewn graiandir sych, ond nid yn aml, a blodeuant yn Mai a Mehefin. Maent yn hynod i beri dwfr, a chan hyny yn dda yn y gareg a'r graianwst, a rhwystrau ereill yn yr ymysgaroedd. Y ffordd i'w cymeryd yw eu crasu a'u gwneyd yn llwch, a'u cymeryd ar ddwfr haidd.

TROED YR YSGYFARNOG, edr. MEILLION CEDENOG.

TAFOD Y CI.—*Hound's Tongue.*

MAENT yn fynych mewn lleoedd tywodlyd syehion, ac ar fin ffyrdd, a blodeuant yn Mehefin. Yfed berwaid o'r dail, a phlastr o honynt ar y doluriau, sydd yn llesol ynghlwyf y brenin. Maent yn rhagorol i esmwythau pesychu a f'o yn tarddu o sur lafoerion teneu sydd yn syrthio ar y cylla, neu ranau ereill o'r froneg. Berwaid o'r gwraidd, a'i yfed yn helaeth, sydd yn dda rhag gwaedu o glwyf y marchogion, gormod mis-lifiant, a'r mis-lif gwyn. Powdr o'r gwraidd, a chymeryd o gylch dram dair gwaith yn y dydd, sydd dda ragorol mewn rhyddni a gwaed-lif o bob math.

TROED YR ASEN.—*Jack by the hedge.*

MAENT yn tyfu mewn cloddiau a chysgodion, a blodeuant yn Mehefin. Maent o'r un flas ac arogl a garlleg. Bwyta o'r dail yn helaeth, neu y sug gyda mêl, a bâr wneuthur dwfr yn helaeth, ac y mae yn llesol rhag y dropsi. Sew o'r sug gyda mêl, sydd yn dda i dori llysnafedd gwydn, a rhag pesychu a chrygni. Sawyro yr hâd a bâr disian, ac ymadael â llysnafedd o'r pen. Bwyta y dail megys *salad* a wresoga y cylla, ac a gryfha yr archwaeth.

TROED Y DRYW, edr. LLYSIAU'R DRYW.

TEIM GWYLLT.—*Mother of Thyme.*

MAE yn fynych ar sych-fryniau, a sych-borfeydd ereill, a min ffyrdd, ac yn dechreu

blodeuo yn mis Gorphenhaf. Trwyth o hono a symud ddolur o ben yn y bore, ar ol yfed gormod y nos o'r blaen. Mae yn dda ragorol iawn yn nghlwyfau y mân-ewynau. Trwyth o hono yn gryf, sydd yn dda rhag madrondod yn y pen; ac nid oes dim sydd well rhag y clwyf cythryblus hwnw, yr hunllef; mae yn hynod effeithiol yn hwn.

### Tag yr Aradr.—*Rest Harrow.*

Maent yn aml mewn porfeydd llymion; ac yn blodeuo yn Gorphenhaf. Berwaid o'r gwraidd sydd yn dda i'r melyn-glwyf, ac y mae yn burion i beri dwfr; yn y gwraidd y mae mwyaf o rinwedd, a rhisgl y gwraidd sydd fwyaf rhinweddol o honynt oll. Berwaid cryf o hwnw wedi ei felysu, a'i yfed yn helaeth, sydd yn ddihareb o beth rhag y graianwst, a phob rhwystrau yn tarddu o hyny. Y mae hefyd yn effeithiol iawn i symud rhwystrau yr afu, a manau ereill oddi mewn, ac yn wasanaethgar yn y clwyf melyn a'r dropsi.

### Tormaen.—*Saxifrage White.*

Tyf mewn gweirgloddiau lleithion, a blodeua yn Mai. Y llysieuyn bach yma sydd yn hynod i ryddhau ffyrdd y dwfr. Trwyth o hono a bâr ryddhad mawr, gan ddwyn ymaith y graian o'r pibellau, a symud rhwystrau ereill hefyd. Nid yw yr hâd, yr hwn a werthir yn

y siopau, ond o rinwedd bychan wrth y llysieuyn ei hun, neu yr hâd pan fyddont irion.

### TANSI.—*Tansy.*

MAE yn tyfu yn ein gerddi, a blodeua yn Gorphenhaf. Mae o flas tra chwerw. Trwyth cryf o'r dail irion a ryddha ffyrdd y dwfr a'r mis-lif. Y blodau wedi eu sychu, a'u gwneyd yn llwch, gyda thriagl, a ladd lyngyr.

### TANSI GWYLLT.—*Wild Tansy.*

MAE yn gyffredin ar fin ffyrdd, ac mewn pawrdir isel, a blodeua yn Mehefin. Llonaid llwy fwyta o bowdr y dail, bob tair neu bedair awr, a iacha y cryd. Mae y gwraidd yn fwy rhwym na'r dail: powdr o honynt, o gylch *scruple* ar unwaith, a iacha ryddni gwaedlyd, a gormod rhediad y mis-lif. Berwaid cryf o'r dail sydd yn dda rhag gwaedu o glwyf y marchogion. Wedi ei felysu â mêl, mae yn hynod lesol yn olchfa i yddfau dolurus.

### TRESGL Y MOCH.—*Tormentil.*

Y MAENT yn gyffredin mewn morfeydd a phorfeydd llymion, a lleoedd cysgodol: blodeuant o Fehefin hyd ddiwedd Medi. Mae y gwraidd yn dda hynod i wartheg a fyddont yn bisweilio neu yn piso eu gwaed. Mae o natur ragorol o rwym; y gwraidd sydd rinweddolaf yn ferwaid neu yn bowdr: o gylch deuddeg pwys gronyn sydd yn ddigon o'r

powdr i'w gymeryd ar unwaith: cymerer o hono owns a haner i'w ferwi mewn tri pheint o ddwfr, a berwer ef nes byddo yn chwart; a chymerer o hono chwarter peint dair neu bedair gwaith yn y dydd. Mae yn hynod mewn clefydon crydol, lle byddo rhyddni mawr yn eu dylyn; ac yn y frech wen, lle byddo rhyddni. Y powdr sydd yn llesol lle byddo poeri gwaed, clwyf y marchogion gwaedlyd, bisweilio yn waedlyd, ac er agoryd rhediad y mis-lif.

## UCHELWYDD.—*Mistletoe.*

MAE yn tyfu ar amryw goed; yr hwn a dyf ar dderwen yw y rhinweddolaf; ond nid yw yn hawdd ei gael. Mae yn blodeuo yn Mai, a'r eirin yn aeddfed yn Rhagfyr. Ystyrir ef yn briodol yn yr heint-glwyf, parlys mud, a'r bendro. Y dail wedi eu powdro, a'u cymeryd ar ddwfr, neu drwyth oddiar y pabi coch, sydd yn addas iawn yn y pigin. Arferir cymeryd yr eirin yn y gwyneg, neu y *stitch*: hwy a'i hiachant yn fuan iawn.

## Y WAEDLYS.—*Blood-wort.*

ANAML y gwelir y llysieuyn hwn yn wyllt, ond y mae yn gyffredin yn ein gerddi. Powdr o hono, neu ddwfr wedi ei ferwi ynddo, sydd yn rhagorol i'w gymeryd ynghlwyf y gwaed, neu boeri gwaed, neu lle byddo mis-lif anghymedrol.

Y WINWYDDEN WYLLT.—*Briony black.*

MAE yn gyffredin mewn eloddiau a llwyni; blodeua yn Mehefin, ac y mae y ffrwyth yn aeddfed yn Medi. Y gwreiddyn yw un o'r pethau goreu rhag y graianwst, a phob rhwystrau yn ffordd y dwfr; mae yn hynod yn y pethau hyny, yn enwedig yn rhwystrau rhianaidd. Y ffordd i'w gymeryd yn y pethau hyn, ydyw ysigo y gwraidd; a rhoddi y sug gydag ychydig o win gwyn. Y sug wedi ei wneuthur yn sew gyda mêl, sydd yn feddyginiaeth dda rhag diffyg anadl, a phob clwyfau yn y cylla.

Y WREIDD-DON, edr. CLAIS.

Y WERMOD WEN.—*Fever-few.*

MAE mewn tir gwyllt, ac o gylch tai a gerddi, a blodeua yn Mehefin. Mae'n wych i chwalu gwynt, ac i gryfhau y cylla; y ffordd i'w arfer yw cymeryd berwaid cryf o hono; efe a symud rwystrau y cylla, ac a ladd lyngyr.

Y WAEDLYS, edr. CANCLWM a HELYGLYS.

Y WREIDDRUDD.—*Madder.*

MEITHRINIR hwn mewn amryw fanau yn Mhrydain i'r lliwyddion; blodeua yn Gorphenhaf. Y gwraidd yn unig a arferir mewn phisygwriaeth; efe a chwâl waed pwdr o achos codymau, ac a iacha y clwyf melyn; ac y mae

yn llesol yn y dropsi. Wrth ei hir arfer, efe a gliria y bledren, a manau cuddiedig ereill, ro'r graian a fyddo ynddynt. Efe a liwia y go ch yn goch, ïe, wrth ei hir arfer efe a liwia yr esgyrn yn y corph yn gochion, ac ni ddychwelant byth i'w lliw.

## Y Wilffrai.—*Wilfoil.*

Maent yn aml mewn gweirgloddiau a phorfeydd, ac ar fin ffyrdd, a blodeuant fisoedd hâf. Berwaid cryf o'r dail, sydd yn dda iawn i attal gormod rhediad y mis-lif, a rhyddni gwaedlyd o bob math, a phob gwaedlif arall.

## Wynwyn.—*Onions.*

Planhigyn dyeithrol i Frydain yw hwn, eto meithrinir ef yn ein gerddi, a chynydda yn rhagorol. Cyflaeth o'i sug gyda mêl, sydd yn llesol rhag caethder gwynt, a rhwystrau ereill yn y froneg. Ei fwyta yn helaeth a bâr gysgu, ac a anog chwant i fwyd; iacha fytheiriad sur, ac a symud rwystrau yn yr ymysgaroedd, ac a ryddha bibellau y dwfr, ac a bâr chwys tyner. Ei roi yn ngwlych dros nos mewn dwfr ffynon oer, a'i roi i blentyn i'w yfed ar ei gythlwng, a ladd lyngyr. Ei ysigo gydag ychydig o halen, a'i osod ar losg tân, a'i hiacha yn fuan. Tywydd oer yw yr amser goreu i'w arfer, a chan hen bobl lysnafeddog a'u cylla yn llawn, a'u hanadl yn ddiffygiol.

### WYNWYN Y MOR.—*Squill, or Sea Onion.*

MAE yn perthyn i Italy ac Yspaen. Mae i'w gael yn siopau y meddygon yn llwch, yr hwn a wneir yn belenau bychain, wedi ei gymysgu â rhywbeth pereiddiach nag ef, gan ei fod yn chwerw iawn; fe'i rhoddir yn y dropsi, a diffyg anadl.

### Y WERMOD.—*Common Wormwood.*

MAE yn gyffredin, ac yn adnabyddus i bawb. Mae y dail yn dda rhag madredd, gan hyny yn addas i dwymddwyro aelodau tueddol i fadru. Arferir ef yn fynych i gryfhau y cylla, drwy ei drwytho mewn diod frag, a daionus iawn i hyny ydyw, ac yn peri yr un amser ryddni i'r dwfr, ac yn llesol rhag y dropsi. Y blodau, wedi eu sychu a'u malu yn llwch, sydd wenwyn pur i'r llyngyr, ac yn ddaionus hefyd i iachau y cryd. Y sug a ryddha ffyrdd y dwfr, ac y mae yn iachaol hefyd yn y clwyf melyn a'r dropsi.

### YSGALLEN WEN.—*Carline Thistle.*

MAE yn tyfu mewn lleoedd sychion, ac yn blodeuo yn Mehefin. Mae y blodau yn agor ar dywydd sych, ac yn cau ar amser gwlyb. Bydd pobl yn dangos cyfnewidiad tywydd oddiwrthynt. Mae yn llesol rhag y famog, ac yn nghlefydau y gewynau, ac o naturiaeth i beri dwfr, ac am hyny yn ddaionus yn y dropsi. Y gwreiddyn wedi ei falu yn llwch a

ladd lyngyr, ac a gliria rwystrau y mis-lifiant, ac y mae yn wasanaethgar yn nylifiant yr ysgyfaint, neu ranau eraill o'r corph.

YSGOL CRIST, edr. BUSTL Y DDAEAR.

YSNODEN FAIR.—*Cypress-long, Galangale.*

MAE yn tyfu mewn corsydd a morfeydd, ond nid yn aml iawn, a blodeua yn Gorphenhaf. Y gwraidd yn unig a arferir mewn phisygwriaeth; mae o flas chwerw, ac o arogl pêr; ac yn dda rhag poenau yn y pen a'r cylla. Mae hefyd yn hynod i beri gwneyd dwfr.

YSGAW.—*Elder.*

PRYSGWYDDYN tra adnabyddus i bawb. Ei ddrygsawr sydd niweidiol i ddyn os cwsg dan ei gysgod. Trwyth o'i risgl isaf sydd yn gryf i garthu yr ymysgaroedd, ac fe ellir ei arfer lle byddo eisiau anogaeth cryf i ryddhau y corph. Ei gymeryd fesur ychydig, fe ryddha bibellau y dwfr, ac am hyny y mae yn dda yn y dropsi, ac i gorph tyn chwarenog. Gwneir â'r dail ddihareb eli oeraidd a thyner. Berwaid o'r blodau sydd yn dda i fwrw allan o'r cylla aflendid yr eis-glwyf, neu y pigin. Cawl wedi ei ddarparu o'r aeron a egyr y corph yn dyner, ac a bâr chwysu yn raddol a rhywiogaidd. Os defaid a'r pydrni arnynt a fwytant y rhisgl, a'r blaenion ieuaingc, hwy a iachant yn fuan. Yr eirin wedi eu berwi, ynghyd a siwgr, i dewder mêl, sydd yn rhagorol iawn

rhag dolur o wddf, a chaethder gwynt, ac i atal pesychu.

YSGAW MAI, YSGAW Y DDAEAR.—*Dwarf Elder.*

Y MAE i'w gael mewn cloddiau, ac ar fin ffyrdd, ond nid yn aml, a blodeua yn Gorphenhaf. Mae o'r un natur a rhinwedd a'r ysgaw cyffredin, ond ei fod yn gryfach cyffuriaeth. Mae yn dda iawn i rai a fyddont o dymherau cryfion, ac yn dueddol i'r dropsi, a natur ddyfrllyd. Curo y dail yn blastr sydd yn dda iawn ar losg tân neu ddwfr. Dywedir y try sug y dail wallt o bob lliw yn ddu.

YSGALL Y MEIRCH.—*Endive.*

MAE yn wyllt mewn amryw fanau, ac fe'i meithrinir mewn gerddi yn fwydlys gwanwyn. Y sug a oera y cylla, ac a bâr ddwfr yn helaeth; mae yn gynorthwyol yn y cryd melyn; ei hir arfer a iacha ysgyrfi.

YSPARDYN Y MARCHOG.—*Lark-spur.*

MAE yn tyfu yn wyllt, ac mewn gerddi, lle y bwria allan amryw fath o flodau godidog o Fehefin hyd Fedi. Dwfr wedi ei ferwi ynddo sydd yn dda i'w yfed yn nghlwyf y marchogion gwaedlyd; efe a attal waedlif, ac a oera y corph yn ngwrthwyneb i blanhigyn rhwym arall. Cyffeithiad o'r blodau sydd yn rhagorol i blant y byddo gormod o natur rhydd ynddynt. Sug y blodau sydd yn ddaionus i

glwyfau y llygaid, a gwlychiad o'r planhigyn sydd yn dda rhag poen yn y bol. Mae yr hâd o natur chwibl-sur, ac yn wenwynllyd.

YTBYS.—*Supine White.*

PLANHIGYN o'r Yspaen yw; ond y mae yn ein gerddi, a blodeua yn Gorphenhaf. Berwaid o'r hâd neu y pys, a ryddha ffyrdd y dwfr, ac a symud rwystrau y mis-lif, ac y mae yn llesol yn y clwyf melyn a'r dropsi. Mae yn ddihareb o olch-drwyth i benau dolurus plant, fe'u glanha, ac a'u hiacha yn fuan. Wedi ei felysu â mêl, efe a ladd lyngyr yn yr ymysgaroedd.

YSGARLLYS BYCHAIN.—*Periwinkle.*

MAENT yn tyfu mewn coedwigau a chloddiau, a blodeuant yn Mai. Maent o natur rwym. Berwaid cryf o honynt mewn dwfr, a chymysgu ychydig o win coch gydag ef, a attal rediad y mis-lif, a phob gwaedlif arall.

YSTREWLLYS.—*Sneeze-wort.*

MAENT yn gyffredin mewn gweirgloddiau lleithion, a blodeuant yn misoedd Gorphenhaf ac Awst. Mae y gwraidd a'r dail o flas surboeth; eu gwneyd yn llwch, a'i sugno i fyny i'r ffroenau, a bâr disian, ac a iacha ddolur o ben yn fuan. Y blodau ieuaingc a fwyteir yn y gwanwyn, ac iachus iawn ydynt. Cnoi y gwraidd sychion a dyr y ddannodd, ac a leinw

y genau â dwfr llysnafeddog, ac felly a iacha y pen.

YSGARLLYS BENDIGAID, YSGALL BENDIGAID.—*Blessed Thistle.*

MAE hwn yn perthyn i Germani, a blodeua yn Awst. Mae y dail yn chwerwon; cymeryd ychydig o drwyth o honynt a gryfha y cylla, ond llawer o hono a bâr gyfog.

# CYNWYSIAD.

ARGRAFFWYD GAN H. HUMPHREYS, CAERNARFON.

GEIRIADUR YSGRYTHYROL y Parch. DR. DAVIES, Bangor. Ail argraffiad, gyda chywiriadau ac ychwanegiadau gan yr Awdwr, ar bapur mwy a gwell, a llythyren frasach. Mewn 14 o Rifynau 1s.; llian, 16s.; lledr, 18s

AGORIAD I'R YSGRYTHYRAU SANCTAIDD, gan yr un. Amlen, 2s. 6ch.; llian, 3s.

PREGETHAU, DARLITHIAU, A THRAETHODAU. Gan y Parch. ROWLAND HUGHES. Yn nghyda Rhagdraith gan y Parch. J. H. EVANS. Gyda Darlun o'r Awdwr. 5s. 6ch.

PREGETHAU, DARLITHIAU, A THRAETHODAU. Gan y Parch. WILLIAM POWELL. Gyda Darlun o'r Awdwr. 5s.

GWIRIONEDDAU YSGRYTHYROL. Lleni mawr ar Lythyren Frâs, Dalen at bob dydd o'r mis, cyfaddas i'w gosod yn Ystafelloedd Cleifion, Yspyttai, Gorsafau Rheilffyrdd, &c. 3s. 6ch.

TRAGWYDDOL ORPHWYSFA'R SAINT. Gan y Parch. R. BAXTER. Llian, 3s. 6ch.

CYFAILL AC ARWEINYDD Y GWR IEUANGC trwy Fywyd i Anfarwoldeb. Gan y Parch. J. ANGELL JAMES. Llian, 3s. 6ch.

CYFAILL AC ARWEINYDD Y FERCH IEUANGC trwy Fywyd i Anfarwoldeb. Gan y Parch. J. ANGELL JAMES. Llian, 3s. 6ch.

TAITH Y PERERIN (argraffiad brâs,) yn cynwys Taith y Pererin, Taith Christiana a'i Phlant, a Thaith Mr. Cydwybod Dyner. Gan JOHN BUNYAN. Addurnedig â Darluniau. Llian, 5s. 6ch.

ARGRAFFIAD PLYG BYCHAN I'R LLOGELL, o'r Llyfr uchod, addurnedig â Darluniau. Yn gyflawn. 2s. 6ch.

PALAS Y BRENIN MAWR. Gan y Parch. HOLLIS READ, America. Amlen, 3s.; llian, 3s. 6ch.

CORPH DUWINYDDIAETH, gan A. BINNEY. Amlen, 1s.; llian, 1s. 6ch.

TRAETHAWD AR HUNAN-ADNABYDDIAETH. Gan J. MASON, A.C. Amlen, 1s.; llian, 1s. 6ch.

YR AWR DAWEL; neu Gymundeb gyda Duw. Gan y Parch. AUSTIN PHELPS. 8c.

DWY DDARLITH, gan ROBYN DDU ERYRI; un ar Ddyn, a'r llall ar Ddirwest. 6ch.

YR ARFAETH DRAGWYDDOL, neu Gynghor Digyfnewid Duw wedi ei egluro i ni yn ei Air Sanctaidd. Gan y Parch. D. ELIAS. 1s.

TRAETHODAU CREFYDDOL, gan Awduron Efengylaidd. Mewn Sypynau, yn Amrywiaeth, 6ch., neu 1s. yr un, neu wrth y Cant.

Y GWYLIAU: eu Pechadurusrwydd dan yr Efengyl. Gan y Parch. D. ELIAS. 2g.

CYFEILIORNADAU A DICHELLION SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF. 3c.

TRAETHAWD ar Achosion, Afresymoldeb, a Drwgduedd bod Tai Addoliad mewn Dyled. Gan JOHN MORRIS, Caernarfon. 6ch.

GALWAD DDEFFROUS ar Benau Teuluoedd at eu Dyledswyddau. Gan y Parch. D. ELIAS, Môn. 3c.

DWYFOL ORACLAU: Ysprydoliaeth Prophwydoliaethau yr Hen Destament. Gan y Parch. MORRIS WILLIAMS (Nicander.) 4s.

ADOLYGIAD ar Draethawd Mr. Eliseus Cole ar Benarglwyddiaeth. Gan TEGAI. 1s.

TRAETHAWD y Parch. J. Goodwin ar Gyfiawnhad. Cyf. R. HUMPHREYS. 2s.

DAIONI A THOSTER DUW. Gan yr hen dduwinydd clodfawr y Dr. JOHN OWEN. 1s.

DWFR Y BYWYD; sef Deg o Bregethau ar rai o Byngciau Ffydd ac Ymarferiad. 2s.

MARWOLAETH ABEL, neu Frawd yn lladd Brawd, gan SOLOMON GESNER. 2s.

ELIASIA: Sylwadau ar Gymeriad Areithyddol a Phregethwrol John Elias. 6ch.

## Llyfrau Gwobrwyol, &c.

CYFRES O LYFRAU GWOBRWYOL, mewn amlenau goreuredig. 6ch. yr un.

BASGEDAID O FLODAU. 6ch.

CANT O FYFYRDODAU, gan J. HOWE. 6ch.

BUDDIOLDEB CREFYDD I'R IEUENGCTYD, gan JOHN ELIAS o Fôn. 6ch.

Y BLODEUAS, gan I. G. ALED. 6ch.

HANES IESU GRIST, gan W. MASON. 6ch.

AFALAU AUR I BOBL IEUAINGC. 6ch.

CYFRES WOBRWYOL, Llyfrau Crefyddol, 3c. yr un.

HANER CANT O RESYMAU paham y dylai Pechadur droi at Dduw, gan R. BAXTER. 3c.

CRIST, CYFAILL PECHADUR, 3c.

TYRED AT IESU, gan NEWMAN HALL. 3c.

DYLYNWCH IESU, gan yr un. 3c.

YN AWR! gan yr un. 3c.

Y CREFYDDWR SEFYDLOG. 3c.

ALLWEDD IACHAWDWRIAETH: 4 o'r llyfrau uchod wedi eu cydrwymo. 1s. 6ch.

YR AWR DAWEL. Gan A. PHELPS. 8g.

Y CYSTADLEUYDD. 6ch.

PECHODAU BYCHAIN. 2g.

AMHEUON YN CAEL EU SYMUD. 2g.

BREUDDWYD HYNOD Athraw Ysgol Sul. 1g.

LLYFR HYMNAU I BLANT. 1g.

GWOBRWYON I BLANT DA; sef Amrywiaeth o Lyfrau Bychain, yn cynwys Hanesion Crefyddol, &c. Dimai yr un, neu Sypyn 26 o amrywiaeth am Swllt.

GWOBRWYON I BLANT DA; Llyfrau mwy, Ceiniog yr un, neu Sypyn o 13 am Swllt.

DAMEGION ESOP, gyda 100 o Ddarluniau, 13 o Rifynau 1c., neu ddau lyfr 6ch., neu un llyfr 1s., mewn amlen, neu 1s. 6ch. llian.

# Llyfrau Ysgol Sul, &c.

CARDIAU GWOBRWYOL yr Ysgol Sabbothol, yn Gymraeg.
Sypyn 1—500 o Docynau (adnod ar bob un.)—1s.
Sypyn 2—72 o Docynau mwy (gyda Darlun.)—1s.

CYFRIFLYFR YR YSGOL SABBOTHOL, yn dair rhan. 4s. a 2s. 6ch.

LLYFR I BOB ATHRAW at gadw Cyfrif o'r presenolion a'r absenolion yn ei restr. 2g.

LLYFRAU AT GADW CYFRIF EISTEDDLEOEDD. 1s., 2s. 6ch., a 4s.

LLYFRAU DYSGU YN YR YSGOL SUL, &c. Amryw brisiau.

YR EGWYDDOR GYMREIG. Dimai yr un.

LLYFR YSGOL Ceiniog yr un.

LLYFR YSGOL Dwy Geiniog yr un.

LLENI MAWR (Trimath,) 17 modfedd wrth 14. 2s. y dwsin.

RHODD MAM I'W PHLENTYN. 1c.

CATECISM EVERETT. 1c.

CATECISMAU CEINIOG, ar Hanes Personau Hynotaf y Beibl:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Hanes Noah .. .. | 1c. | Hanes Elias .. .. | 1c. |
| Hanes Abraham .. | 1c. | Hanes Daniel .. .. | 1c. |
| Hanes Job .. .. .. | 1c. | Hanes Esther .. .. | 1c. |
| Hanes Joseph .. .. | 1c. | Hanes Jonah .. .. | 1c. |
| Hanes Moses .. .. | 1c. | Hanes Ioan Fedyddiwr .. .. .. .. | 1c. |
| Hanes Samson .. .. | 1c. | Hanes Iesu Grist .. | 1c. |
| Hanes Ruth .. .. | 1c. | Hanes Pedr .. .. | 1c. |
| Hanes Samuel .. .. | 1c. | Hanes Paul .. .. | 1c. |
| Hanes Dafydd .. .. | 1c. | | |

Neu Sypyn o 13 am Swllt.

CATECISM CEINIOG ar hanes amrywiaeth o Bersonau a Lleoedd hynod yn y Beibl. 1c., neu Sypyn o 13 am Swllt.

LLUSERN YSGRYTHYROL: sef Catecism i Blant. Gan y Parch. HUMPHREY JONES. 2g.

PERL Y PLANT: sef Catecism, â'r Atebion oll ar Gân. 1c., neu Sypyn o 13 am Swllt.

HOLWYDDOREG DIRWESTOL, gan Robyn Ddu Eryri; a Chatecism y Temlwyr Da. 2g.

## Llyfrau Addysg.

GEIRIADUR CYMREIG CYMRAEG, sef Geiriau Cymraeg yn cael eu hegluro yn Gymraeg. Gan CYNDDELW. 2s. 6ch. llian.

GEIRIADUR CYMRAEG A SAESONEG. Gan GWEIRYDD AP RHYS. 2s. 6ch. llian.

GEIRIADUR SAESONEG A CHYMRAEG. Gan JOHNSON, WEBSTER, a HUGHES. 2s. 6ch. mewn llian.

Y DDAU EIRIADUR OLAF wedi eu cydrwymo, am 4s. 6ch. llian; 6s. 6ch. lledr; neu 7s. 6ch. lledr a *gilt rim* a *clasp.*

GEIRIADUR Y BARDD, neu yr Odlydd Cyffredinol, at wasanaeth y Beirdd. At yr hwn yr ychwanegwyd y Llyfr hynod hwnw,—

CYFRINACH BEIRDD YNYS PRYDAIN. Gan IOLO MORGANWG. Pris y ddau, 7s. 6ch.

ADDYSG CHAMBERS I'R BOBL, yn ngwahanol ganghenau Gwybodaeth Gyffredinol; yn addurnedig â thros 700 o Ddarluniau. Y ddwy gyfrol, llian, 31s. Yr ail gyfrol yn unig, 16s.

GRAMADEG CYMRAEG HUGH TEGAI, sef IEITHADUR ATHRONYDDOL. 2s. 6ch. llian; 2s. amlen.

GRAMADEG MENDUS JONES, wedi ei Helaethu a'i Ddiwygio gan yr Awdwr. 3s. llian; 2s. 6ch. amlen.

GRAMADEG HUGH TEGAI a J. MENDUS JONES, wedi eu cydrwymo. 5s.

CRYNODEB O RAMADEG CYMRAEG, yn nghyda Chyfarwyddiadau manwl i Ddarllen yn briodol. Gan TEGAI. 6ch.

Eto, ARWEINIAD BYCHAN I RAMADEG CYMRAEG, mewn holi ac ateb. Pris 2g.

GRAMADEG BARDDONIAETH TEGAI: yn cynwys Sylwadau ar Deithi Barddoniaeth, Mesurau Morganwg a Gwynedd, yn nghydag engreifftiau o'r Mesurau Rhyddion, &c. Gan TEGAI. 1s. amlen; 1s. 6ch. yn rhwym.

TREITHIADUR ROBIN HYDREF; sef y Gelfyddyd o Ddarllen a Llefaru yn synwyrol. Gan CORFANYDD. 3s. 6ch.

Y LLENOR DIWYLLIEDIG, sef Llawlyfr yr Ysgrifenydd, yr Areithydd, a'r Bardd. Gan I. G. ALED, 2s., neu 2s. 6ch. llian.

AMDDIFFYNIAD YR IAITH GYMRAEG, cyfeiriedig at bob Dosbarth o Genedl y Cymry. Gan y Parch. R. W. MORGAN, P.C., Tregynon. 6ch.

DETHOLION O ADDYSG CHAMBERS I'R BOBL, yn cynwys 17 o Draethodau godidog ar wahanol Ganghenau o'r Gwyddorau a'r Celfyddydau. yn addurnedig â thros 400 o Ddarluniau Eglurhaol. 5s. mewn byrddau.

GEIRIADUR ARFONWYSON, a Chydymaith yr Ysgol Sabbothawl. 1s.

HUNANGYFARWYDDYDD i Gymro DDYSGU SAESONEG. Gan B. D. MON, 1s.

LLYFR LLYTHYRAU CYMRAEG A SAESONEG, gyda Chynlluniau o Nodau Arianol, &c. 8c.

VOCABULARY: Llyfr o Ymddiddanion a Brawddegau Cymraeg a Saesoneg. 6ch.

GOLUD YR OES; sef Cylchgrawn Cenedlaethol er cefnogi Llenyddiaeth, Cerddoriaeth, Celfyddyd, Addysg, Gwladgarwch, a Chrefydd; yn un Gyfrol hardd. 16s.

DARLITH ar SERYDDIAETH. Gan J. W. THOMAS (Arfonwyson). 6ch.

Y CYSTADLEUYDD; sef Dadleuon ac Ymddiddanion, Pyngciau, a Darnau Rhyddieithol a Barddonol. 6ch.

CYFAILL YR YSGOLOR; yn cynwys Sylwadau ar Ddarllenyddiaeth, ac Eglurhad ar Droellegau a gwahanol Ffurfiau Ymadroddion yr Ysgrythyrau. Gan CLWYDFARDD. 6ch.

YR ATHRAW CERDDOROL; yn cynwys Gwersi Eglurhaol ar holl Ranau Ymarferol Cerddoriaeth. Gan D. HUGHES. 6ch.

LLYFR COGYDDIAETH NEWYDD. 1s. 6ch. amlen goreuredig; neu 2s yn rhwym.

LLYSIEULYFR TEULUAIDD JONES LLANLLYFNI, yn dangos Rhinwedd Meddygol Llysiau, &c. Hefyd LLYSIEUAETH FEDDYGOL, gan Thos. Parry, Tregarth. Pris y ddau yn rhwym, 4s. 6ch.

ARWEINYDD LLYSIEUOL I IECHYD, a Meddyg-ddysg Naturiol yn wyneb Afiechyd. Gan A. I. Coffin, M.D. 4s.

Y GARDDWR CYMREIG, neu, Pob dyn yn Arddwr iddo ei hun. Gan Bardd Du Mon. 1s.

DOFI CEFFYLAU; gwerth Deg Gini am Chwe' Cheiniog. Gan J. S. Rarey. 6ch.

HOMŒOPATHY.—Llyfr Cymraeg ar Homœopathy, sef y Drefn Newydd o Feddyginiaethu pob Afiechyd. 6ch.

TRAETHAWD ar y Pwysigrwydd o fyned i'r Ystad Briodasol yn Anrhydeddus. Gyda Rhaglith, gan y Parch. Owen Jones. 6ch.

## Llyfrau Barddoniaeth a Cherddoriaeth.

GWEITHIAU DEWI WYN O EIFION, sef y BLODAU ARFON, yn gyflawn fel yr oedd yn yr Argraffiad Cyntaf; gyda chwanegiad o ATTODIAD HELAETH, yn cynwys ei Weddillion Awdurol; hefyd, Cofnodau o Helyntion ei Fywyd a'i Yrfa Farddonol, gan Cynddelw, gyda Darlun hardd o'r Awdwr. 5s. 6ch. llian.

Gellir cael yr "Attodiad" ar ei ben ei hun, gyda'r Darlun, pris 3s. mewn llian.

EHEDIAD Y MEDDWL; sef Ffrwyth Awen a Myfyrdod yr Hen Bererin Duwiol William Thomas, o Gaergybi. Gyda Darlun a Chofiant o'r Awdwr. 2s. 6ch. yn rhwym. Darlun o W. THOMAS, y Bardd Cristionogol uchod, ar Bapur mawr, 1s., neu mewn *Gilt Frame* a Gwydr, gydag Argraff o amgylch y Darlun, 3s. 6ch.

CANEUON GOMERYDD, at wasanaeth Cyfarfodydd Difyrus a Llenyddol. Gan J. R. Jones (Gomerydd). 1s. mewn amlen.

MUNUDAU SEGUR; yn cynwys 160 o Gancuon Newyddion, Mocsol, a Difyrus. Gan R. J. DERFEL. 1s. 6ch., neu 2s. yn rhwym.

TEITHIAU A BARDDONIAETH ROBIN DDU ERYRI; yn cynwys Hanes ei Fywyd, a'i Gyfansoddiadau Barddonol. 5s. llian.

AWDL Y BEIBL. buddugol yn Eisteddfod Bangor, 1874. Gan y Parch. E. GURNOS JONES. 1s.

PRYDDEST AR Y BEIBL, gan y Parch. JOHN JONES (Vulcan). 1s.

BARDDONIAETH CYNDDELW: yn cynwys Awdlau, Cywyddau, Englynion, Pryddestau, Caneuon, ac Emynau, ar destynau Gwladol, Crefyddol, Marwnadol, ac Amrywiol. Dan olygiad IOAN ARFON. Hefyd, TRAETHAWD ar Fywyd ac Athrylith Cynddelw; gan y Parch. J. SPINTHER JAMES. Gyda Darlun o'r Awdwr. 5s. 6ch.

GWEITHIAU Barddonol a Rhyddieithol IEUAN BRYDYDD HIR. Dan olygiad y Parch. D. SILVAN EVANS. 3s. 6ch.

GORCHESTION BEIRDD CYMRU, neu Flodau Godidogrwydd Awen, wedi eu casglu gan RHYS JONES, o'r Blaenau. 3s. 6ch. yn rhwym. Dan olygiad CYNDDELW.

TELYN FY NGWLAD, sef casgliad dewisol o Gerddi Cenedlaethol, Hanesyddol, a Diddan, o waith Awduron poblogaidd. 6ch.

COG ARFON, sef Casgliad o Gerddi digrifol a serchiadol, ar wahanol fesurau. 6ch.

EOS GWALIA, sef casgliad dewisol o Gerddi, crefyddol a mocsol. 6ch.

GARDD EIFION: Casgliad o Waith Barddonawl Mr. Robert Williams, Bettws Fawr (Robert ab Gwilym Ddu o Eifion). 3s. 6ch.

BLODEU-GERDD NEWYDD, sef yr AWENYDD, yn cynwys Casgliad o agos i 150 o brif Ganiadau Gwynedd a Deheudir. 2s. 6ch.

TELYN SEION, sef Pedwar-ar-bymtheg o Garolau Nadolig. 6ch.

FLORES POETARUM BRITANNICORUM: sef Blodeuog Waith y Prydyddion Brytanaidd. (Argraffedig yn 1710). 1s.

PRYDDEST Fuddugol ar ol y Parch. PETER GEORGE, Caernarfon. 2g.

BLODAU'R DYFFRYN, sef Caniadau Crefyddol, Moesol, a difyrus. Gan O. PRYDDERCH WILLIAMS (Eryr Mon). 6ch.

FY ORIAU HAMDDENOL, sef Caniadau Moesol a Difyrus, ar amrywiol Destynau. Gan GWYNDAF HEN a CHAERGALLWG. 6ch.

CERDDI—Crefyddol a Moesol, Cenedlaethol a Hanesyddol, Carwriaethol a Digrifol. Dimai yr un, neu Sypyn o amrywiaeth am 1s.

CAROL NADOLIG—(Christmas Carol), y Gerddoriaeth gan JOSEPH PARRY (Pencerdd America), Mus. Bac. Cantab., a'r Geiriau (Cymraeg a Saesoneg) gan JOSEPHUS. Yn yr Hen Nodiant a'r Tonic Sol-fa. 6ch.

UDGORN SION: sef Casgliad o Donau Cynulleidfaol, a ddetholwyd allan o Weithoedd yr Awdwyr a'r Hymnyddion goreu. Gan DAVID JONES (Dewi Wyllt). 2s. 6ch. mewn amlen, neu 3s. llian.

LLYFRAU I YSGRIFENU CERDDORIAETH, wedi eu gwneyd i fyny gyda Phapur rhagorol, a'u llinellu yn y modd harddaf. Amrywiol brisiau, o 3c. i 4s. 6ch.

GEMAU TONAU CYNULLEIDFAOL, cyfaddas i'r Mesurau arferedig mewn Addoliad Dwyfol. 6ch., neu 1s. wedi ei rwymo.

CERDDORIAETH: sef Alawon a Chydganau, a Thonau Cynulleidfaol. Gan THOMAS LEWIS (Cerddor Glas), Maesteg. 6ch.

CEINION CERDDORIAETH Y CYMRY (Beauties of Cambrian Melodies), gyda Geiriau Saesoneg. 2s. 6ch.

CASGLIAD DEWISOL O HEN DONAU CYMREIG (Welsh Airs). Gan EDWARD JONES, Telynor i'w Fawrhydi Sior IV., pan yn Dywysog Cymru. 1s. 6ch.

CASGLIAD O'R ALAWON CYMREIG MWYAF POBLOGAIDD, gydag Amrywiadau at y Berdoneg a'r Delyn. Gan y diweddar H. S. HAYDEN Organydd, Caernarfon. 5s. 6ch.

## Llyfrau Hanesyddol.

HANES Y CYMRY: mewn Pymtheg o Ddarlithiau. Gan y Parch. OWEN JONES. 3s. 6ch. lliain.

BYWYD ac ANTURIAETHAU ROBINSON CRUSOE. 3s. yn rhwym.

HANES BYWYD (yn Gymraeg) y Parch. RICHARD ROBERTS, y Gweinidog Wesleyaidd a'r Darlithydd poblog yn Lloegr (gynt o Fachynlleth); gyda PHREGETH ar Deyrnasiad Rhagluniaeth, a DARLITH ar Ddyben Bodolaeth, gan yr un. 1s.

BYWYDAU ENWOGION; sef Hanes amryw o brif Ryfelwyr, &c., y byd. 3s. 6ch.

FFYNON CEGIN ARTHUR, sef Ffynon Ddurllyd yn Llanddeiniolen, ger Caernarfon. Gan A. WYNN WILLIAMS, M.D. 6ch.

VICAR WAKEFIELD, gan OLIVER GOLDSMITH. Cyf. gan JOSEPHUS, Treffynon. 1s. mewn amlen oreuredig; 1s. 6ch. mewn amlen.

LLYFRAU HANESYDDOL, Chwe' Cheiniog yr un

Hanes NAPOLEON BONAPARTE. 6ch.

Hanes ADMIRAL LORD NELSON. 6ch.

Hanes y DUC WELLINGTON. 6ch.

Hanes NICHOLAS I., o Rwssia. 6ch

Hanes LOUIS NAPOLEON. 6ch.

Hanes DIC ABERDARON, a Hanes TWM O'R NANT (y ddau ynghyd.) 6ch.

Hanes y CYMRY. Gan ELIS WYN. 6ch.

UNCLE TOM'S CABIN, neu HANES Caethwas Cristionogol. Gan H. B. STOWE. 6ch.

GWLAD YR AUR, neu Gydymaith yr Ymfudwr Cymreig i Awstralia. 1s. gyda Map lliwiedig; neu heb y Map, 6ch.

## Llyfrau Gwybodaeth Gyffredinol.

Y Gyfrol Gyntaf yn awr yn barod, pris 5s. 6ch. mewn llian; neu gellir eu cael yn bedwar llyfr Swllt, neu yn Rhifynau Ceiniog yr un.

1. Hanes Pedr Fawr, Ymerawdwr Rwssia.
2. Hanes Pio Nono, diweddar Bab Rhufain.
3. Hanes Brwydr Waedlyd a Bythgofiadwy Waterloo.
4. Hanes Alexander Fawr, Gorchfygwr y Byd.
5. Pla Mawr Llundain, a'r Tân a'i dylynodd, 1664—66.
6. Hanes Mahomet, y Gau-Brophwyd.
7. 84 o Gynghorion Teuluaidd buddiol ac ymarferol.
8. Anturiaethau Columbus, darganfyddwr America.
9. Hanes Gau-Grefyddau a Gau-Grefyddwyr penboeth—meibion a merched.
10. Llongddrylliad y "Commerce," yn nghyda dyoddefiadau arswydus y morwyr; a dinystr yr agerlong "Royal Charter" ar greigiau Llanallgo, Mon.
11. Hanes Poland—ei Gorthrymderau a'i Dadgorphoriad gan Rwssia a chenedloedd ereill.
12. Hanes Owain Glyndwr, a'i Ymladdfeydd yn erbyn Lloegr a'r Iwerddon.
13. Hanes y "Crusades," neu Ryfeloedd y Groes.
14. Hanes Bywyd y Cadfridog Syr Thomas Picton, Cymro galluog a dewr.
15. Y Chwilys Pabaidd: ei weithrediadau creulawn ac arswydus
16. Y Gwrthryfel ar fwrdd y "Bounty," ac ymsefydliad y gwrthryfelwyr mewn ynys yn Môr y Dê.
17. Hanes Llundain, y ddinas gyfoethocaf yn y byd.
18. Daeargrynfeydd, a dinystr dinas Lisbon gan Ddaeargryn arswydus yn 1755.
19. Hanes y Barwn Tronck—ei anturiaethau, ei garchariad, a'i ddienyddiad.
20. Cyfarwyddiadau i wneyd Diodydd iachusol a dymunol.
21. Hanes H. M. Stanley—ei deithiau yn Affrica, a'i ymchwiliad llwyddiannus am Dr. Livingstone.
22. Hanes Francis Spira, y gwrthgiliwr—ei anobaith a'i drueni arswydus.
23. Hanes Castell Caerynarfon, a'r ymosodiadau a fu arno mewn gwahanol oesoedd.
24. Bywyd ac Anturiaethau y Cadben Cook, yn ei fordeithiau o amgylch y ddaear.

25. Y Gwrthryfel mawr yn yr India, yn y flwyddyn 1857.
26. Y Cospedigaethau y sonir am danynt yn yr Ysgrythyrau.
27. Hanes Boneddiges Ddall, a'i helbulon.
28. Cŵn—eu callineb, eu ffyddlondeb, a'u gwasanaeth i ddyn.
29. Y Parch. John Wesley—hanes ei fywyd a'i lafur.
30. Difrod echryslawn ar y Prydeiniaid yn Mwlch Khoord Cabool, India, yn 1842.
31. Hanes Bywyd John Gibson, y cerfiwr Cymreig nodedig.
32. Hanes yr enwog Ddr. Franklin, o America.
33. Ffoadigaeth y Ffrangcod o Rwssia yn 1812, a dinystr dinas Moscow trwy dân.
34. Hanes Bywyd y gwrol William Tell, o Switzerland.
35. Deuddeg o Byngciau Cyfreithiol, yn ol stât y gyfraith yn y dyddiau presenol.
36. Y Commodore Anson—ei frwydrau a'i fordaith o amgylch y ddaear.
37. Hanes Bywyd John Howard, yr enwog ddyngarwr haelionus a llafurus.
38. Hanes Ffynon Elian, a'i Hoffeiriad, yn nghyda swyngyfaredd y Cymry yn y dyddiau gynt.
39. Teithiau ac Anturiaethau Dr. Livingstone yn Nghanolbarth Affrica.
40. Hanes Bywyd J. B. Gough, y darlithydd dirwestol anghydmarol.
41. Y Gwrthryfel yn yr Iwerddon, 1798, yn yr hwn y bu byddin o Gymry dan Syr Watkin yn cymeryd rhan yn ei ddarostyngiad.
42. Hanes am Warchäedigaeth ar dair o Drefydd Caerog; sef Wittenberg yn Germany, Jellalabad yn India, a Secjet yn Hungary.
43. Gwrthdarawiad a Suddiad yr Agerlong "Princess Alice," pryd y collwyd yn agos i 700 o fywydau.
44. Hanes Joan o Arc, morwynig wladgarol a gwrolfrydig o Orleans, yn Ffrainge.
45. Y Telephone, neu y Sain-Gludydd; a'r Phonograph, y Sain-Adgynyrchydd.
46. Hanes Môr-frwydrau y Nile a Copenhagen.
47. Hanes Bywyd Twm o'r Nant, sef Thomas Edwards, y bardd.
48. Dynion Enwog a ymddyrchafasant yn wyneb anhawsderau, yn nghyda rhestr o Enwogion Cymreig a adawsant argraff annileadwy ar y byd.

## Llyfrau Gwybodaeth Gyffredinol.

### YR AIL GYFROL

Yn awr yn barod, pris 5s 6ch. mewn llian; neu gellir eu cael yn bedwar llyfr Swllt, neu yn Rhifynau Ceiniog

49. Hanes Bywyd Martin Luther, y Diwygiwr Germanaidd.
50. Hanes Brad yr Indiaid Cochion yn America.
51. Hanes Hywel Dda, a'i Gyfreithiau Cymreig clodfawr.
52. Hanes Ffraingc, a'i Helbulou gwladol terfysglyd.
53. Tystiolaethau Amgylchiadol, a'u canlyniadau gofidus.
54. Hanes Bywyd y Gwron a'r Cadfridog enwog Garibaldi.
55. Hanes y Pyramidiau hynod yn ngwlad yr Aipht.
56. Hanes Lewis Morris y Bardd (Llewelyn Ddu o Fôn.)
57. Môrfrwydr Trafalgar, yn mha un y lladdwyd Lord Nelson.
58. Goresgyniad Ynys Prydain gan y rhyfelgar Iwl Caisar.
59. Hanes Ymchwiliadau Morwrol i'r Pegwn Gogleddol.
60. Arthur y Ford Gron yn cymeryd dinas Rhufain.

61. Hanes Bywyd John Bunyan, awdwr "Taith y Pererin."
62. Drylliad yr Agerlong "Rothsay Castle" yn Mâu Biwmaris.
63. Hanes Brad y Cyllill Hirion gan y Saeson, dan Hengist.
64. Hanes Bywyd Goronwy Owain o Fôn, y Bardd enwog.
65. Hanes Abyssinia, a chwymp yr anfad frenin Theodore.
66. Hanes Prascovie, Arwres anturiaethus gwlad Siberia.
67. Hanes Oberlin, Gweinidog Protestanaidd enwog.
68. Hanes hen Genedl y Cymry yn y Canoloesoedd.
69. Hanes William Penn, sylfaenydd Talaeth Pennsylvania.
70. Hanes Bywyd Llywelyn, Tywysog olaf y Cymry.
71. Gustavus Adolphus a'r Rhyfel Deng Mlynedd ar Hugain.
72. Merched enwog yn hanes Cymru yn yr hen amser.

73. Hanes Bywyd Richard Wilson, yr Arlunydd Cymreig.
74. Hanes Tiriad y Ffrangcod yn Abergwaun, yn y fl. 1797.
75. Hanes Bywyd George Stephenson, y Peiriannydd enwog.
76. Mabinogion Arthur y Ford Gron yn yr hen oesoedd.
77. Hanes y Cymry yn America, yn nghyda'u Rhagolygon.
78. Hanes Iolo Morganwg, y Bardd a'r Hynafiaethydd enwog.
79. Hanes Rob Roy Macgregor, a'i Anturiaethau rhamantus.
80. Iarll de Charney a Picciola, neu Flodeuyn y Carchar.
81. Carchar y Bastile, a'r Creulonderau a ymarferwyd yno.
82. Llongddrylliad arswydus y llong "Medusa" o Ffraingc.
83. Hanes George Washington, Arlywydd cyntaf America.
84. Hanes Bywyd y diweddar Thomas Charles o'r Bala.

85. Hanes Oliver Cromwell, a'i Amseroedd cythryblus.
86. Richard Falconer, a'i Beryglon enbydus ar Dir a Môr.